# EHEDIADAU BYRION;

SEF,

## Casgliad o Gyfansoddiadau

# BARDDONOL.

GAN GLAN ALUN.

AWDWR "FY CHWAER;" "PREGETHWR Y BOBL," &C.

WYDDGRUG:

ARGRAFFWYD GAN HUGH JONES.

1862.

## Cyflwyniad

I CYNRIC; WILLIAM DAVID;

JOHN THOMAS; SIDNEY MARGARET;

MARY AC ANNIE JONES

YN ARWYDD O SERCH,

EU HANWYL DAD,

YR AWDWR.

# AT Y DARLLENYDD.

"EHEDIADAU BYRION." Ni bu yr Awdwr erioed mewn hamdden, pe buasai mewn gallu, i ehedeg yn uchel neu ynmhell mewn ystyr awenyddol. Er byred ei "ehediadau," yr oedd yn naturiol iddo fel rhyw brydydd arall i feddwl yn rhy dda o honynt i oddef iddynt "ehedeg" i ebargofiant. Ond y mae yn debyg na buasai yn rhyfygu eu casglu ynghyd a'u cyhoeddi, yn enwedig yn y wedd hon, oni bai er mwyn y rhai y maent wedi eu cyflwyno iddynt ar y ddalen gyferbyniol. Tybia y gallant roddi dyddordeb iddynt hwy pan y bydd y llaw a'u hysgrifenodd yn pydru yn y distaw fedd. Yr un pryd hydera na byddant yn annerbyniol gan gyfeillion a chydnabyddiaeth yr Awdwr yn gyffredin.

Dylid sylwi fod y rhan fwyaf o lawer o'r cynnyrchion hyn wedi eu cyfansoddi pan oedd yr ysgrifenydd yn

bur ieuangc. Nid oedd ond prin deunaw oed pan gyfansoddwyd y ddwy Bryddest gyda'r hwyaf sydd yma, sef, "Llongddrylliad" (tudal 42,) a "Croesaw i Dr. Pugh," (tudal 91.) Ni chyfansoddodd ysywaeth ond y nesaf peth i ddim, yn ystod holl flynyddoedd canol ei oes. O ran hyny, borau a hwyr y bydd adar y goedwig hwythau yn canu.

Os caiff y gyfrol hon dderbyniad canolig, fe allai yr anturir cyfrol eto ynmhen enyd ; ond os i'r gwrthwyneb y dygwydd, gadewir ar hyn.

*Mehefin 1af,* 1862.

# CYNNWYSIAD.

# EHEDIADAU BYRION.

## BARDDONIAETH TEULUAIDD.

### Cwyn y Prydydd am ei Frawd,

AR EI

### YMADAWIAD O'I WLAD EI HUN.

PAM,—fy mrawd, O! pam gadewaist
Anwyl drothwy tŷ dy dad?
Pam! O! dywed pam y mynaist
Adael d' enedigol wlad?

Pam y mynaist demtio'r moroedd?
Croesi'r gwyllt eangfor du?
'Mhell oddiwrth hoff swn aberoedd
Tawel siriol Cymru gu.

Beth a ddenodd dy feddyliau!
Fyned ar fath hirfaith hynt?
Beth,—a ballodd y gwrthddrychau
A feddiannai'th galon gynt?

Beth,—a flinaist ar y bryniau?
  Ar y dolydd gleision teg?
Ar y cribog hen fynyddau?
  Ar y gwiw ddyffrynoedd chweg?

Beth,—a ddarfu'r swyn serchiadol
  Rwymai'th galon wrth dy fro?
Pob hen droion mwyaf cynhesol—
  A ollyngwyd oll dros go'?

Neu, a ballodd gwiw gysuron
  Cu fendithion cartref gain?
A'th foreuol hoff gyfeillion,
  Dywed, a newidiodd rhai'n?

Ac a fethodd ein rhianedd
  Teg, ddyddanu'th galon frau?
A'u cyfeillach, mwyn hyfrydedd,
  Hoywlon fodd dy lawenâu?

Beth y sydd tu darw i'r eigion?*
  Pa ryw drysor? Pa ryw swyn?
Dâl am adael Cymru dirion,
  A'i holl gysuron er eu mwyn?

* *Y wlad yr aethai efe iddi ydoedd Newfoundland, yn America, 1800 o filldiroedd o Gymru.*

A phan oeddit yn ymadael
  A phob hoff wrthddrychau llon,
Onid oedd rhyw dristwch dirgel
  Yn trwm bwyso dan dy fron?

Onid oeddit bron yn wylo,
  Wrth ffarwelio a'r hen wlad?
A dy galon drom yn suddo
  Yn isel yn dy fynwes fad?

A phan welit Gymru wiwlon,
  Yn brysur, brysur gilio draw,
Ac yn d'adael fel dy hunan
  Onid oedd dy fron yn fraw?

Pan ddechreuai'r mawrion donau
  Guddio brig Moelfamau fàn,
A phob da gofiedig ddrychau,
  Yn diflanu oll yn lan;

Onid oedd och'neidiau dyfnion
  A dagrau heilltion yno'n lli?
Oedd, fy mrawd, os yw dy galon
  Debyg i fy nghalon i.

Ond yn araf fy meddyliau,
  Digon ar y testun hwn:
Pam'r agoraf yr hen friwiau
  Sydd o fewn ei galon, gwn?

O! fy mrawd, ni buost unig,
Yn dy ddioddefiadau chwith,
Minnau gefais loesau pwysig
Nas anghofia'm calon byth.

Oni chollais frawd fy nghalon
Fy mynwesol gyfaill cu;
'R hwn o blith holl feibion dynion
Erioed a gerais uwch y llu?

'N awr rwy'n crwydro i 'mofyn cyfaill
Fel cardotyn gwael tylawd,
Ond ni chaf yn mhlith rhai eraill
Neb yn debyg i fy mrawd.

Tybia'n awr fy mod fy hunan
Wedi'm bwrw ar y byd,
Holl gyfeillion boreu dyddan
F'einioes wedi ffoi i gyd!

Do fe d'wynodd hyfryd foreu
Ar fy ysbryd ieuanc rhydd;
Ow! ymgasglu'r du gymmylau
Uwch fy mhen cyn canol dydd!

Bu im' bob perthynas mwynaidd
A fendithia'r ddaear hon,
Tad a mam, a brawd caruaidd.
A chwaer gu i'm croesawu'n llon.

Ond mi gollais er fy ngalar
  Hanner yr anwylaidd ri,
Fy mam sydd oer yn llwch y ddaear†
  Ac eigion rhwng fy mrawd a mi.

'N awr pan droaf tuag adre',
  Yno mae rhyw wagle mawr;
Y fan oedd gynt baradwys oleu,
  Fel diffeithwch sydd yn awr.

Yno crwydraf hyd y llwybrau
  Rhodiais mewn dedwyddwch gynt,
Ac âg aml ddwys och'neidiau,
  Llwytho wnaf adenydd gwynt.

Hen gofnodau o'n mabaidd gariad
  Barent gynt im lawenâu;
Heddyw, O!'r fath gyfnewidiad!
  Parant i fy mron dristâu!

Etto caraf sengu'r manau
  Gynt a sengais gyda thi,
A myfyrio ar hen amserau
  Nes y rhed fy nagrau'n lli.

Crwydro weithiau wnaf yn unig
  Yn yr hyfryd hafddydd brwd,
Ar lan Alun lle bo'r helyg,
  Yn crymu'n wylaidd uwch y ffrwd.

† *Buasai fy mam farw er ys dwy flynedd.*

Yno eisteddaf yn y cysgod,
I alaru'n ddi-nacâd
Tra y chwareu'r bychain bysgod,
Yn ddiofal wrth fy nhraed.

Buan, buan llenwa'm calon,
Sudda'm dagrau yn y lli;
Pwy a wyr na ddwg yr afon
Hwynt i'r man lle'r ydwyt ti.

Dwys hiraethu'r ydwyf beunydd,
Am dy weled yma'n ol;
Ac ni bydd fy ysbryd lonydd
Nes dy ddychwel i fy nghol;

O pa bryd y caf dy weled,
Ac y caf iachau fy nghlwy?
Tyr'd yn ol, fy mrawd, O! tyred
Byth na 'mad oddiwrthyf mwy!

GOFID Y FLWYDDYN 1834;

SEF,

## Galarnad y Prydydd

## AM EI FRAWD MR. KENRIC JONES,

Yr hwn a fu farw Hydref 15ed, 1834, yn y 26 flwyddyn o'i oedran.

Mi gana' ffarwel i'r hen flwyddyn
Sy'n awr wedi dirwyn i ben,
Tragywyddol gysgodau diderfyn
A'i cuddiodd hi fythol dan len.

Dadlwythodd ei llwyth o ofidiau,
Ei gwaeau a'i phoenau i'r hen fyd,
Cyflawnodd ei chyfnewidiadau,
Cwbläodd ei neges i gyd.

Rhodd felldith a bendith yn gymmysg
I brofi mab dyn ar ei hynt,
Ac yna diflanodd i derfysg
Anialwch yr hen oesoedd gynt.

Rhyw flwyddyn ryfeddol aeth heibio,
Rwy'n coelio oedd hon i bob un;
Ond neb ni cha'dd achos i'w chofio,
Gan wylo mor brudd a fy hun.

Hen flwyddyn,—ni fynwn dy gablu,
  Rhaid maddeu pob gweithred a wnawd;
Ond eto nis gallaf dy garu,
  Oblegid ti ddygaist fy mrawd!

Ti a'i dygaist,—ti a'i twyllaist ef hefyd!
  Gan wenu yn ieuanc a hardd,
A blodau dedwyddwch a gwynfyd,
  Yn blaguro ar dy fynwes fel gardd.

Ti beraist i'w galon ymloni,
  Gan addaw daioni 'mhob llun,
A chynnyg cyn myn'd, ei goroni
  A phenaf ddedwyddwch y dyn.*

Cymmysgwyd ei gwpan yn felus,
  D'oedd dim ond ei hyfed yn awr;
Ond cyn iddi gyrhaedd y wefus,
  Hi syrthiodd yn ddrylliau i'r llawr!

Yn ofer darparwyd yr arlwy,
  Daeth angau i ragflaenu y wledd;
D'oedd eisiau na harddwisg na modrwy
  I ymbriodi âg angau a'r bedd!

* *Yr oedd fy mrawd wedi ei ddyweddio i'w briodi yn yr un mis a y bu farw.*

Ow Kenrick ! bu pum mlwydd ar hugain
   Yn gwrido a harddwisgo ei wedd,
Un arall a'i dygodd yn gelain
   I bydru a malurio yn y bedd !

Mi welaf yn awr fod rhyw gynghrair
   A glywais am dano cyn hyn,
Yn sefyll rhwng Angau ac Amser
   Er arwain plant dynion i'r glyn.

Gadawsant i'm brawd gael diangfa
   Yn awr esgoreddfa o'r fru ;
Arbedwyd e'n faban anwyla'
   I fyw lle y trengodd rhyw lu.

Gadawyd ef wed'yn yn fachgen
   I dyfu'n llanc mirain ei lun,
Ei flwyddau aent heibio yn llawen
   Cynnyddai wr addien yn ddyn.

Ac yna yn mlodau ei ddyddiau,
   Yn entrych ei harddwch a'i nerth,
Bu farw !—ai balch ydyw Angau ?
   Neu yw anrhaith fel hyn o fwy gwerth?

Rwy'n synu uwch llawer amgylchiad
   'R arbedwyd ei fywyd ef gynt,
A meddwl pan lleia'r disgwyliad
   Daeth angau i derfynu ei hynt !

Fe grwydrodd i wledydd pellenig,†
  Ofnasom nas gwelem ef mwy;
O ganol peryglon nid 'chydig,
  Daeth adref heb glefyd na chlwy.'

Er bod mewn gwrthwyneb hinsoddau
  Gwahanol ac afiach eu rhyw,
Er gwyntoedd y môr a'i wyllt dònau,
  Diangodd o'u canol yn fyw.

O ganol dieithr-fro yr estron
  Yn fyw fe ga'dd sengu ei hen wlad,
Ond adref yr oedd angau yn fwy creulon!
  Bu farw dan gronglwyd ei dad!

Mi dybiais cyn hyn mai fy hunan
  A gludid yn gyntaf i'r bedd:
Myfi oedd mor eiddil ac egwan,
  Ac yntau mor iachus ei wedd.

Ond mi a adawyd mewn galar
  Rhy gynnar i ymboeni am ryw hyd,
I ymdrech â helbul y ddaear
  Yn druan anniddan fy myd.

† *Gwel 'Cwyn y Prydydd am ei Frawd.'*

Mae i mi gyfeillion hoff hefyd,
   Rai ffyddlawn mewn adfyd mi wn ;
Ond fy mrawd ydoedd gyfaill fy mebyd—
   Pwy gyfyd i lenwi lle hwn?

Rwy heddyw yn debyg i estron
   Anhylon o'r bron yn nhŷ'm tad;
A rhyfedd mor chwithig i'm dwyfron
   Trwm galon i'w troi i'm hen wlad.

Bum yno yn crwydro yn yr heol,
   A siriol fel cynt oedd y llu,
A minnau fy hun yn eu canol
   Yn prudd-gofio hyfrydwch a fu.

O'u plith fy meddyliau ehedent,
   E's innau heb wybod pa ham
I ddarllen ar gareg y fynwent
   Hoff enwau fy mrawd a fy mam!

O! enwau a fu'n argraffedig
   Ar eigion fy nghalon erioed,
Ac er ei bod heddyw'n aredig
   Gan ofid, fyth hefyd gaiff fod.

Rwy'n synu yn drist uwch eu beddrod,
   Gan wlychu â'm dagrau y maen,
Wrth feddwl mor ddyeithr yn barod
   Yw y rhai oedd mor anwyl o'r blaen!

Ni bydd dim o'r hen hoff gymdeithas
  Er agosed y gorwedd y ddau
Byth mwy, na chydnabod perthynas,
  Er iddynt gymmysgu yn y clai.

Ow! yma y claddwyd holl obaith
  A serchlawn ddysgwyliad y fam:
Ac yma diffoddwyd ar unwaith
  Ei chariad,—a losgai fel fflam.

Ac yma mae bedd addunedau
  A hoff ddymuniadau y llanc,
Ei rag-olygfeydd oedd mor olau
  Yn forau fe'u dygwyd i dranc.

Mi a'u clywaf hwy'n gwaeddi 'Bydd barod;'
  D'wyf finnau'n mawr brisio am fyw,
Dysgwyliwn uwch angau wel'd uchod
  Fy mrawd, a fy mam, a fy Nuw.

Ac heddyw wrth ddechreu blwydd arall
  Rwy'n deall mae gofid a gaf,
Ystormydd a'm curant yn ddiball
  Fel arall lle bynnag yr âf.

Boed felly; rwy' wedi cyn'fino
  Ag wylo ers dyddiau yn awr;
A gofid yn fwy nag aeth heibio
  Rhaid iddo yn wir fod yn fawr.

Gweddiaf i'm Harglwydd o'r diwedd,
Drwy amledd gofidiau y byd,
Fy ngyru o'r ddaear a'i gwagedd
Ar sylwedd y nef i roi 'mryd.

---

## Llinellau.

Pan oedd fy Mam ar ei gwely angau, ychydig cyn ei marw galwyd am danaf i'w hystafell, ond *nid ydoedd yn fy adnabod*, yr hyn a achlysurodd y canlynol:—

Prysurais i'r ystafell brudd,
A'm grudd yn llawn o ddagrau
A brysiais at ei gwely'n chwim,
Ow! ni'm hadnabu hithau.

Mi grymais wrth eu herchwyn, ond
Daeth ing yn llon'd fy nghalon,
Can's fel dyeithryn, er fy mriw,
Yr oeddwn i'w golygon.

Yn ofer galwn ar fy mam,
Gofynwn pa'm na'm clywai,
Ochenaid ddwys a gwaelaidd ig,‡ ‡sob.
Yn unig a'm hatebai!

Dywedais wrthi mai ei mab,
Ei hanwyl fab oedd yno;
Pa faint fy nhristwch, pwy a ŵyr,
'R oedd wedi'm llwyr anghofio!

A buan, buan angau ddaeth
A'i alaeth atgas oerddu:
Dyrysodd fy anwylfam fach,
Dim mwyach ni'm hadnabu.

Er hyn gobeithiaf daw yr awr
Rhyw foreu wawr ysblenydd,
Câf eilwaith wel'd fy anwyl fam,
Hi eilwaith a'm hadnebydd.

---

## Ai Breuddwyd Oedd?

Ai *breuddwyd* oedd? Mi dybiais wel'd fy hun
Yn fachgen bach, yn chwareu'n llon fy llun,
Dan sylw tyner fam ac anwyl dad,
Ar aelwyd cartref mewn dedwyddol 'stad.
Yr oedd, neu tybiais fod, chwaer dyner im',
Ac anwyl frawd, ac *eto* nid oedd dim
Bwlch yn ngwrthddrychau'm serch, ond ar bob tu
Im' tywynau cariad teulu cyfan cu.
Ai breuddwyd oedd yr holl olygfa hardd?

A *fum i ddim* yn chwareu yn yr ardd,
Ac yn y maes, ac yma a thraw drwy'r dre',
Ac yn yr hen ysgoldy yn llon fy lle?
Ac oni bu 'n rhy fyr y dydd o'r bron,
A'r ty'n rhy fach i'n difyr chwareu llon?
Tra gwenai ar fy mrawd a'm chwaer a mi,
Rieni hoff wrth wel'd ein campiau ni!

Ffarwel *baradwys bywyd!* F'enaid sydd
Yn athrist iawn wrth gofio'r boreu ddydd.
Rhy ddysglaer i hir bara!—Ond rhyfedd fod
Dydd mor dymhestlog 'r ol fath foreu'n dod!
Mae'r niwl a'r t'wyllwch trosof heddyw a daen
'N fwy du wrth gofio'r goleu aeth o'i flaen!
* * * * * *

Mi dybiais wel'd fy hun yn wael fy ngwedd,
Rhwng brawd a thad yn dilyn tua'r bedd
Weddillion fy hoff fam! Och fi, ni fyn
Fy nghalon drom mai breuddwyd ydoedd hyn.
O! na, mae'r briw 'n rhy ddwfn! y garw loes
A lyna yn gadarn yma trwy fy oes!

Ond eto mi ddych'mygais fod im' dad,
A brawd a chwaer, a'm carent yn ddiwad,
Ac am croesawent oll yn llon, bob tro
Y deuwn tua'm genedigol fro.
Do, tybiais wel'd gwr ieuanc hardd ei ddrych,
Parablus, bywiog, un cyfeillgar, gwych;

Mi dybiais fy mod yn *ei alw yn frawd*,
Wrth grwydro yma a thraw ar siriol rawd;—
—Diflanodd yntau! tua'r fynwent draw
Fy nhad a mi a'i hebryngent law yn llaw!
Deigr ar bob grudd, ac ar bob calon bwn:
Nid breuddwyd oedd,—rhy wir, mi wn! mi wn!

Ac eto mi ddych'mygais fod im' dad,
A chwaer orhoff, un dyner gu, a mad;
Yn fy mawr garu, ac o gylch y ddau
Fod fy serchiadau innau'n cadarn wau.
Yr oeddem fel pe ba'em yn agosau
Yn nes yn awr na chynt, ac fel pe b'ai
Rhyw arswyd rhag i'r gelyn dd'od i blith
Ein *nifer bach*, a pheri chwalfa chwith.
Ond Ow! fe ddaeth, fe ddaeth! Fy anwyl dad
Trwy ing a phoen ddiangodd tua gwlad
Fil gwell na hon; a thua'r dystaw fedd,
*Fy hun* dilynais ef yn drist fy ngwedd!

Ac eto wedi'n mi ddych'mygais fod
Im' *un* perthynas anwyl is y rhod.
Ond O! mor fuan gwelais er fy ngwae
Nad oedd yr olaf hon i hir barhau!
Yn gyflym, gyflym iawn edwinai gwedd
Fy anwyl chwaer, a brysiai tua'r bedd.
Rhy dda i'r ddaear ydoedd: un o fil;

Yr olaf a'r anwylaf bron o'r hil
Im' ydoedd. Ynddi cawn heb goll,
Rinweddau mam a chwaer a gwraig ac oll.
Yn ddau amddifaid ein heneidiau prudd
A wnaent ymgydio'n gryfach bron bob dydd;
Ond er mor agos oeddem, angau a ddaeth
Rhyngom ein dau, a'i ddirfawr rwyg a wnaeth!

Wel! angeu creulawn! nid oedd gennyf mwy
Berthynas arall, iti ro'i i'm glwy';
Bron na ddywedais, Cwblha yn awr
D' ofnadwy waith trwy'm tori innau i lawr.
Ond na, mwy tebyg iti—angeu creulon, yw
Estyn fy mhoen trwy'm gadael i yn fyw.
Ond ust! ymostwng ac nid grwgnach wnaf,
'Dyw angeu ond gwas i ddoeth drugarog Naf.

* * * *

Mor galed i'r amddifad deithio byd,
A gwel'd teuluoedd cyfain hoff ynghyd,
Y byd direswm yn *deuluoedd* llon,
A bair i'r *unig* genfigenu o'r bron.
Mae'r iar a'i chywion, y ddafad a'i dau oen,
Yn codi hiraeth bron a pheri poen.

Ond er mor dlodaidd ydwyf mewn mwynhad
Presennol, eto ydwyf yn ddiwad
Oludog mewn adgofion. Heblaw hyn,
Mynych ymddyrchaf mewn myfyrdod syn,

Gan ddringo mewn dychymyg i'r wlad fry,
Lle bellach tybiaf y llon drig holl dŷ
Fy nhad. Hyfryd gymunaf gyda'r rhai
Sy'n ddedwydd uchod, uwchlaw poen a bai,
Mewn gwynfyd bythol. Os yw'r teulu glân
Yn sylwi weithiau ar helyntion man
Y ddaear hon, o blith golygfeydd cain
Y Ganaan nefol, ac o beraidd sain
Telynau aur y nef; os yw y llu
Dedwyddol weithiau'n taflu golwg tu
A'u hen gartrefle, ac yn gwrando swn
A thrydar daearolion; yna gwn
Fod yno rai mewn tyner gariad pur
'N ymdeimlo a mi yr unig dan bob cur.*
Ac er nas gwelaf—nas dymunaf mwy
Yn myd y poen a'r ysgar eu gwel'd hwy,
Gobeithiaf ar fy Nuw ro'i imi nerth
I gyrhaedd draw, trwy ddringo'r creigiau serth
Ddringasant hwy,—a dilyn ol eu traed
Ar lwybrau purdeb, a thrwy rin y gwaed
Gael trwydded i fyn'd *atynt hwy* i fyw
Ymhen draw'r daith, ac at eu Prynwr—Duw.

*Ychydig cyn marw, ymofynai fy anwyl chwaer yn awyddus. Tybaid a fyddent yn wybyddus yn y nef o'r hyn oedd yn cymeryd lle ar y ddaear; os felly, meddai wrthyf, "Mi'ch gwyliaf fi chwi o'r nefoedd." *(O! I'll watch you from heaven)*

Ceir yno ar amrywiog freuddwyd oes
Ddeongliad goleu; a diau am bob croes,
Yn gystal a phob cysur yma a gawn,
Ceir achos i ddadganu mai, "Da iawn."
Uwchlaw breuddwydion mwy, yn effro byth,
Mwynheir sylweddol fyd mewn hoen ddilyth;
O gyrhaedd pechod, galar, poen a chlwy,'
Ac angau byth, ond "cwrdd heb 'madael mwy."

## To my Dear Child.

### "A MERRY CHRISTMAS AND A HAPPY NEW YEAR."

If any one will happy be
Beneath the merry Christmas tree,
'Tis thy sweet nature so to be,
My dear child.

That open face, that sweet, arch eye
Are made for pleasure and for joy,
May sorrow ne'er their charms alloy,
My dear child.

The soul of gladness, the sweet spell
Of social joy within thee dwell,
I know it—feel it—love it, well,
My dear child.

Thou'rt made for pleasure, even for fun;
May many, many years still run
Smoothly before thy race is done,
My dear child.

'Twould be a pity if that flow
Of spirits any check should know,
Or any sadness cloud that brow,
My dear child.

Be it not so, may fortune still
Preserve thee from each earthly ill,
Give thee of peace and joy thy fill,
My dear child.

Soul of sweet home, 'tis surely thine
At any social board to shine,
Where loving hearts in peace entwine,
My dear child.

Long may'st thou live, sweet child to prove
That aptness for domestic love,
Implanted in thee from above,
My dear child.

God bless thee, wheresoe'er thou go,
May thy pure heart still overflow,
With that sweet bliss the worthy know,
My dear child.

And may thy soul for ever stay,
And prosper 'neath that Saviour's sway,
Whose birth we celebrate this day,
My dear child.

*Christmas day*, 1860.

# Trallod;

## NEU, "'RWYN FARW'N FYW!"

Fy enaid mor derfysglyd yw,
'R wyf fel yn farw, er yn fyw!
I fydol wynfyd o bob rhyw
'Rwyn farw'n fyw!

Fel gwr yn rhodio "yn ei hun,"
'Rwyf finau ar ddelw bywiol ddyn,
Ond nid yw oll ond megis llun;
'Rwyn farw'n fyw!

Fy nghalon lesg yn pallu sydd,
Rhwygedig gan ofidiau prudd,
Fy haul fachludodd ganol dydd:
'Rwyn farw'n fyw!

Wrth wel'd y llu o'm cylch yn llon,
A chalon ysgafn dan eu bron,
A minau 'n wastad dan y dòn:
'Rwyn farw'n fyw!

Fe fu i minau foreu teg,
A llu o wiw obeithion chweg;
Llongddrylliwyd oll ag erchyll freg!
'Rwyn farw'n fyw!

Bu i mi gynt gyfrinach fawr,
I dynu'm bryd o awr i awr;
Diflanodd oll, 'rwyf fi ar lawr,
Yn farw'n fyw!

Bu i mi barch, a ffyddlon serch,
Tynerwch dyn, addfwynder merch,
Ond collwyd oll mewn stormydd erch:
'Rwyn farw'n fyw!

Fy nhad, fy mam, fy chwaer, fy mrawd,
Fy ngwraig, fwyneiddiaf fu mewn cnawd,
Oll yn y bedd! eu priddo wnawd!
'Rwyf finau'n farw'n fyw!

Pwy geidw f'anwyl blant rhag cam?
Pam mor amddifaid ynt? paham?
Mor foreu i golli eu hanwyl fam!
A'u tad yn farw'n fyw!

Anwyliaid hoff, mor chwerw chwith
I mi yw eistedd yn eu plith,
Ar enw tad, ond dim ond rhith!
'Rwyn farw'n fyw!

Wrth syllu arnynt bob yn un
Mor lon, ddiniwaid, teg eu llun,
A minau'n drist ddiobaith ddyn!
'Rwyn farw'n fyw!

Ymwadu'r wyf er mwyn fy mhlant,
A cheisio byw o bant i bant,
Er am y bedd fod arnaf chwant:
'Rwyn farw'n fyw!

'Does genyf obaith mwy am hedd,
Na gwawr i'w gael i lonni 'm gwedd,
Na thawel fron tu yma i'r bedd:
'Rwyn farw 'n fyw!

Bum o ychydig ddefnydd gynt,
Cawn groesaw cannoedd ar fy hynt,
Aeth hyny hefyd gyda'r gwynt!
'Rwyn farw'n fyw!

Beth dalaf mwy i flino'r byd?
A chalon drom a thafod mud!
Yn wir fy nghladdu sy'n llawn bryd:
'Rwyn farw'n fyw!

O na chawn wel'd y stormydd trwy
Am *awr*,—"cyn myn'd na byddwyf mwy;"
A gobaith teg gael gwlad heb glwy',
'Rol marw'n wir!

# Adgofiant Mebyd.

**CYNNWYSIAD.**

Dyddordeb y testun—Dychymyg yn edrych ar amser mabandod—Adgofion am yr ysgolfeistres a'i hysgol—Yr ymweliad â thŷ y cyfaill bachgenawl—Cartref—Yr olygfa deuluaidd nosweithiau y gauaf—Fy mam—Myfyrdod ar ei marwolaeth—Chwareuon mebyd—Cynlluniau dychymygol mebyd—Y tröad allan i'r byd.

"ADGOFIANT MEBYD!"—dyna yn ddiau
Y testun dery ar y galon fau!
Yn wir, mae hiraeth ar fy enaid prudd,
A galar bron, wrth gofio am y dydd
Pan bum i gynt heb ofal ac heb boen,
Heb bwys euogrwydd chwaith, yn fawr fy hoen,
Yn chwareu'n llon ar ddolydd yr hen wlad,
A brawd a chwaer, yn ymyl mam a thad.
Ond er mor brudd yr adgof, er mor fawr
Y rhagor rhwng y boreu ag yn awr,—
Er hyn mae pleser, mwyn-brudd bleser yw,
Yn nghanol cas helyntion o bob rhyw,
I adael sarug wiredd yr hen fyd,
A sengu gwlad ddych'mygawl min y cryd.

Ddelweddau hyfryd! Pwy yn awr a rydd
Ddarluniad o deimladau od y dydd

Pan yr agorodd ei olygon bach,
Pan lifodd bywyd gyda'r awyr iach
Trwy holl bibellau'r corff, pan gododd lef
Ar ymbreswyliad bywyd ynddo ef?
Y dinerth welir yn ymgreinio am
Gynnorthwy prydlawn tua'r dyner fam,
Ac nid yn ofer. O! beth bynag fydd
Siomiadau a gwaeau y dyfodawl ddydd,
Pa olwg bynag geir ar ddynolryw,
Yr olwg gyntaf oll dedwyddawl yw;
Sef gwên—hoff wên y fam—o gariad pur
A gorlawenydd llwyr, anghofia ei chur
Ar eni dyn i'r byd; ac yna pan
Y gorwedd ar ei bron y baban gwan,
Ei gwên hi a seiriana ei enaid trwy,
Nes deffro serch o'i fewn na ddiffydd mwy.

Yn fuan iawn y baban bach a dry
Ei lygaid mewn rhyfeddod cylch y tŷ;
Rhyfeddu mae a lloni, gwel, fe chwardd
Wrth wel'd pob peth a phawb o'i gylch mor hardd,
Ac oll yn newydd. Os newydd-deb ddyd
Y fwyaf swyn ar bobpeth yn y byd,
Pa faint raid fod dedwyddwch boreu oes?
Pob peth yn newydd—dim yn hen nid oes.
Yn raddol y synhwyrau ymgryfânt, [wnant
A phob gwrthddrychau o'u hamgylch beunydd

Eu gwahodd i ymagor, ac ni ddaw
Awelon oer dyeithrwch ar un llaw
I fferu ei ymdrechion ef bob un,
A pheri i'w enaid gilio iddo ei hun.
Gall ef ymarllwys oll, oll heb wahardd;
Nid yw'n anialwch einioes etto, ond ei gardd.
Pawb dyner gydymdeimlant gydag ef,
Ac am y cyntaf gwyliant ar ei lef.
Gan *lispio* mam a thad, fe ddaw yn hy'
Y lleiaf oll yn fwyaf yn y tŷ;
A bron na thybia nad oes ond efe
Yn wrthddrych sylw dynion is y ne'.
Mae tad a mam, a hynaws frawd a chwaer,
Yn gwylio arno fel pe byddai faer;
Y gwas a'r forwyn, ïe'r ci a'r gath,
Y naill ni chripia hwn a'r llall ni frath.
Mae palf ewinawg *puss*, a llymaf ddant
Y ci, yn holl ddiniwaid gyda phlant.
Yn wrol iawn mi wela'r bach yn awr
Yn dechreu treiglo ei hunan ar y llawr;
A mwy gwrolwaith na chylchdeithio gwlad
Fydd myn'd oddiwrth ei fam hyd at ei dad,
Ar draws y gegin, cerdded oll ei hun,
Ei hun o'r naill i'r llall, o glun i glun.
Yn fuan iawn, ei floesgion eiriau sy,
Yn ddiarebion gan bawb yn y tŷ.

Drachefn ac eilwaith gwnelir pawb yn syn,
"Dywedodd William bach fel hyn a hyn."
Rhaid iddo fyn'd i'r ysgol, mae'n llawn bryd;
"Mae'n ieuanc iawn, ond mae ei ben ef c'yd!"

Mi wela'r ysgolfeistres ar ei sedd,
Rhyw weddw sobr iawn a salw wedd,
A'i *spectol* ar ei thrwyn, mawreddig iawn
Cyfranai addysg foreu a phrydnawn,
Gan uwchreoli ei holl ddeiliaid mân
Trwy rym teyrnwialen (fedw) oedd uwchlaw'r tân,
Ac os cynhyrfai un o'r plant ei gwg
Nes gofyn carchar am ei fod mor ddrwg,
"Y twll tan 'grisiau"—tywyll, anial le,
'Rwy'n dychryn heddyw wrth gofio am dano fe;
Yn nghanol didawl dwrf a bythol si
Yr haid aflonydd, dysgais yr A B,
A gallwn fostio yma, ond ni waeth heb,
Mor fuan y cyrhaeddais E B—eb:
Yn y cyfundraith hwn yn gweithio trwy,
Ceid yr hyn welir yn mhlith pobl fwy;
Ys trallod yn y fynwes fach a chlwy,
Nis gall y cawr na'r athron ddyoddef mwy:
Poen methu dysgu'r wers, ac yna ofn
Y wialen barai aml ochenaid ddofn.
Ac wedi'n, byth ni bu'r fath wynfyd chwaith
A derbyn clod y fam ar ben ein gwaith,

Neu wrth gael myned allan oll yn rhydd
I 'mofyn pryd, neu ýnte ar derfyn dydd,
Ar hyd yr heol, O! 'r llawenydd oedd,
Ac aml ddiriaid gamp a gwych ddireol floedd.

Mi gofiaf fel yn fynych iawn yr awn
Gyda fy ffrynd i dreulio y prydnawn
(Mae gan y plentyn gyfaill, onid oes
A mêr gyfeillach hefyd heb ei chroes.)
O pa fath groesaw geid yn nghartref hwn
Gan fam a thad, a'r teulu oll yn grwn;
Ni byddai'r *visit* chwaith yn un ddifael,
'Roedd yno deisen dda neu afal pêr i'w gael,
A chwareu maith, yn gwneuthur baban dŷ,
Neu chwythu'r dwr, a'i wel'd yn esgyn fry;
Mewn gardd a buarth, cae, ac yma a thraw
Yn baeddu, heb barchu gwisg nac ofni baw.
Pan daenai drosom nos ei mantell ddu,
A'n chwareu bach gyfyngid yn y tŷ,
Nes blino'r teulu bron â'n swn di rôl
Fe ddoi y gwas neu'r forwyn i fy nôl,
Ac ar ei gefn, neu ar ei hysgwydd gref,
Yn frenin mi farchogwn tua thref.

Fy nghartref hoff fy hun! pa bryd! pa bryd
Y caf fi deimlo mwy mor ddedwydd glyd?
Mi wela, nawr mor eglur a phe bae
Ond neithiwr pan y bum yn ei fwynhau;

Fel yr ymgasglai'r teulu, fawr a mân,
Nosweithiau hirion gaua' o gylch y tân.
Mi wela' nhad mewn cadair freichiau fawr,
(Mae'r gadair hon yn aros yno'n awr.)
A'i goesau yn mhleth, a'r bibell yn ei law,
Yn swyno pob gofalon blinion draw
Yn mwg y bibell bêr yn ddigon pell,
Tra sugnai drwy ei phig feddyliau gwell.
Eisteddai mam i wnïo o flaen y tân,
Neu yntau olrhain yr Ysgrythyr Lân;
Ac ambell air i 'nhad, neu sen i mi
Am guro cefn y gath, neu dŷnu clust y ci;
Fy mrawd a'm chwaer ar fainc, a rhwng y ddau
Y forwyn henaf oedd yn prysur wau;
Ychydig o'r naill du 'roedd llencyn brec
Yn dysgu y forwyn fach yr A B C;
A minnau ar fy stôl yn ddigon siwr
Rhwng mam a nhad, nid y distadlaf ŵr;
Y tanllwyth mawr yn taflu siriol wres,
Nes oeddwn bron a mygu gan ei des.
O maes fe glywir 'storm, gauafaidd swn,
Plith oeraidd fref y fuwch, ac udiad cwn;
Ffenestri a drysau gan y gwynt a gryn,
Yn ngwyll y nos fe welir eira gwyn,
A gwlaw a chenllysg mawr heb drugarhau,
O bryd i bryd yn curo'r gwydr brau.

Ni wna y gwynt a'r gwlaw ac oll yn nghyd
Ond gwneud teimladau'r teulu yn fwy clyd;
Ar ol pob rhuthr fe grynhoa y rhes
Yn nes yn nghyd, ac at y tân yn nes.
Yn fuan dygir yr hen Fibl mawr
A'i amgudd gwyrdd oddiar y *silf* i lawr;
Fy nhad a'i gadach dŷn y mân-lwch draw
Oddiar ei spectol, yna gyda llaw
Ofalus, try ddalenau'r Bibl cu
Sy braidd yn waeth o'r mynych droi a fu;
Ac wedi darllen rhan o'r Dwyfol Air,
A sylw bychan arno, plygu wnair;
A 'nhad ddyrchafa ei grynedig lef,
Mewn gweddi a mawl teuluaidd tua'r Nef.
Mi glywais fwy hyawdledd lawer tro,
Ond neb ni cherais ddilyn fel y fo:
Yn fyr ond yn gynnwysfawr ac yn llawn,
O buraidd ysbryd, os nid mawredd dawn.
Ac wedi hyn i'r gwely rhoi'r y plant,
Ac aml gusan cu a nos da'wch a gânt.
Melus yw hûn y gweithiwr, felly fydd
I'r rhai fu'n blino chwareu trwy y dydd;
Dim cas ofalon nac euogrwydd ddaw
I ymlid cwsg a'i falm adfywiol draw.
Mi gofiaf weithiau oriau wedi'm rhoi
I orphwys, byddwn rywfodd yn deffroi

A chael fy mam fel rhyw angyles lân
Yn syllu ar wynebau ei phlant mân :
Hi lithrai i edrych eilwaith oedd pob un
Yn glyd, cyn myn'd i 'mofyn cwsg ei hun.

O ysbryd pur fy mam, sy'n awr mewn hedd !
Ti eist i orphwys i ddwys hûn y bedd
Cyn gwel'd dy blant yn glyd ! O angeu erch !
Ni pharchi rinwedd, ac ni phrisi serch !
Wel deuwch ddagrau—eto os yw'n wir
Fod pur drigolion dedwydd nefol dir
Yn canfod holl helyntion y byd hwn,—
Mae yno un yn teimlo â mi, mi wn.
Ah ! llawer chwerw dòn a chwmwl du,
A churo 'stormllyd am fy enaid fu
Er pan y'th gollais, fam, ond yn ddiau
Dy gladdu'n fwyaf gofid sy'n parhau.
Mi gyfarfyddais lawer cyfaill mwyn
I'm helpio dan y groes, i'w dyodde' a'i dwyn,
A chydymdeimlad—eto yn ddi nam
'Does serch creadur byth fel cariad mam !
O ! mae rhyw feddwl ynwy'r fynyd hon,
Pe cawn i eilwaith sangu llwybrau llon
Blodeuawg mebyd hoff,—mi ni wnawn drais
A theimlad pur a serch di hunan gais
Fy mam anwylaf. O ! na, na, pe bae
Gofidiai bydol arni yn trymhau,

Cymylau gofal roi cysgodau prudd,
A gadael dagrau dygrain ar ei grudd,—
Ni wnawn fel cynt—chwanegu at ei gwae
Trwy 'stranciau drwg a pheidio ufuddhau :
O na, fy mam anwylaf! O gwyn fyd
Na chawswn innau hyfryd wel'd y pryd
Mewn henaint teg, ac o flynyddau 'n llawn ;
Yn dy ail febyd di, ad-dalu gawn
Ychydig am dy holl dirionwch trwy
Gysuro d'enaid eiddil tan bob clwy',
Trwy serch a chariad mabaidd esmwythâu
Dy ffordd i'r beddrod tawel? ond y mae
Y cwbl drosodd mwyach hyd y pryd
Y caf fi ddiolch it' mewn bythol fyd.

Yn fuan fuan treigla amser teg
Mabolaeth heibio, tywydd da di freg,
A phob difyrwch sydd yn ysgafnhau
Ei lwyth ; dim gofal aethus i drymhau
A phwyso'i asgell gref.—Fe aeth, fe aeth,
A gadael i fy nghyfran i ni wnaeth,
Ond lluaws o adgofion dysglaer llon,
I godi hiraeth beunydd dan fy mron—
Am hen gilfachau'r buarth hoff a'r ardd,
Lle bûm yn ymbleseru'n ddiwahardd
Gynnifer flwyddau ; p'un ai rhedeg *rás*,
Ai *mic* ymguddiad o'r tu ol i'r dâs,

Y sigl-raff esmwyth grogid rhwng y coed,
Y *top* a'r *marbles*, neu ý belen droed.
Mi gofia'r geiniog geid ar ddiwrnod ffair
I brynu *ginger bread* neu eirin mair,
Ac yn llogellau'r dillad newydd—O!
Gan lleied pres bryd hyny a wnai'r tro.
Am y Sabbathau tawel, hyfryd, llon,
Ar ambell waith daw delwau cu ger bron;—
Yr haul yn tywynu 'n gain, a ni mor wych
Mewn dillad goreu glân, yn hardd ein drych;
'Mhlith siriol dyrfa cerddem tua'r llan;
Neu ynte y nos i'r capel, fwynaf fan;
A'r darllen bob yn ail o gylch y tân,
A gorphen y dydd da trwy seinio cân.
Ar brydiau fe gaem fyned i roi tro
Ar hyfryd daith i enedigol fro
Ein rhiaint; hoff gyfarchu nain a thaid.
A chwrdd â cheraint ieuainc yno, haid
O gefndyr a ch'nitherod o bob gwlad,
Yn llawn digrifwch ac yn fawr eu nâd.
Y gauaf aem i lithro ar yr iâ,
Neu godi caseg eira tra parha
Goleuni dydd, a'r hirfaith nos a geir
I chware maneg sgwt neu mwgwd ieir.
Os yn yr haf, ni grwydrem trwy'r hir ddydd
I chwilio am nythod adar yn y gwŷdd,

Neu dringem yn y coed i hel y cnau,
Gan brofi'n aml nad oedd ein gwisg ond brau.
Yn y cynhauaf llon, yn brysur iawn,
Llafurio wnaem o foreu glas i nawn,
Ac am ein llafur tua noswyl, fe
Gaem farchog yn y gertwyn tua thre'.

Am danaf fi, yn fynych mi adawn
Fy holl gymdeithion ieuainc, ac a awn
Gan gilio i gysgod oer o'r hafddydd brwd
A syn fyfyrio yn nifyr swn y ffrwd;
Gwnawn yno ddelwau dysglaer, canaid, pur,
O oes ddyfodawl,—tymmor da di gur,
Hindda ddigwmwl, llwyddiant diwahân,
Awyrawl gestyll filoedd fawr a mân.
Breuddwydio am ballu nid oedd bosibl im',
Dychymyg ieuanc grea fyd o ddim;
Ni lysia rhwystrau'r ysbryd ieuanc rhydd
Ond megys gwaedda, Bydded,—felly bydd.
Os am farddoni, byddwn yn ddigoll
Yn fardd cadeiriawl, pen bardd Cymru oll;
Os am areithfa, fy mhregethau llym
A suddent fyrdd dych'mygawl gan eu grym;
Os masnach dynai 'mryd, â golud drud,
Cyfranai i fy 'stor bedryfan byd,
O flaen fy llygaid brithai cydau o aur,
A rhwysg Caerludd ac urddas Arglwydd Faer;

Neu os dygwyddai'n uwchaf yn fy mryd,
Teuluaidd gariad, mwynder cartref clyd,
Dychymyg tirion ger fy mron a daen
Ffordd cariad heb ei groes, y rhos heb ddraen;
Canfyddwn fenyw hardd, synwyrawl, gu,
Pob rhinwedd ynddi sydd, a fydd, neu fu,
A mwy na'r oll, a mynwes ynddi'n fflam
O gariad ddigyfnewid, ffyddlon, am
Fy nedwydd hunan; efelly yn y man
Arweiniwn hi yn llawen tua'r llan;
Yna dych'mygwn o gylch tanbaid dân,
Gryn deulu difyr, trystfawr, o blant mân;
Olrheiniwn yna'r teulu teg eu llun
Efallai i genedlaethau fwy nag un;
A bron na thybiwn fod eu lleisiau iach
Yn gwaeddi ar fy ol, "Ha! teida bach."
Ond och fi, erbyn imi droi fy mhen,
Fy nhaid fy hun oedd yno'n gwaeddi sèn,
Yn dwrdio yn dost am imi beri braw,
Fod pawb yn chwilio am danaf yma a thraw.—
"Dy nain a'th fodryb bron a myn'd o'u co',
Fe gaiff dy dad di wybod am y tro."
Ac felly wedi 'mhleser pur a'm hoen,
Cawn wely heb swper fe allai am fy mhoen:
Boed felly; yna'n wir breuddwydio wnawn
Yr hyn ddych'mygais drosodd y prydnawn.

A dyma bleser mebyd!—Ah! gwyn fyd
Na bai ein bywyd yn freuddwydio i gyd,
Neu fod pob amgylchiadau 'n ufuddhau
Fel i'r dychymyg,—ond nid felly mae.
Gobeithion dysglaer mebyd im' ni wnaeth
Ond peri i'r gwir ymddangos hyny gwaeth.
Mi ges yn fuan, fuan, fy neffroi
O dybiau mebyd; rhaid oedd i mi droi
O'm cartref clyd! O! loes a chwerwaf gur,
"I ddechreu 'myd,"—*fy* myd—y byd yn *wir.*
O! ragor rhwng fy myd gwyn heibio a aeth,
A'r byd gwireddol yr wyf ynddo yn gaeth!
Wel, wel, mi gofiaf byth y garw ddydd
Ffarweliais â fy nghartref—yna'n brudd
Marchogaeth ymaith wnawn wrth 'sgil fy nhad,—
O! 'roedd rhyw olwg drymaidd ar y wlad;
Y gwlaw ddisgynai yn hidl, fel pe bae
Cymylau'n wylo dagrau am fy ngwae;
Y byd oedd o fy mlaen i ddewis lle
I orphwys, a Rhagluniaeth dirion Ne',
I arwain; minnau awn ar grwydriad maith
O wynfa mebyd ar anialus daith.

# Amrywiaeth.

## LLONG-DDRYLLIAD.

HYFRYDAWL foreu, trwy ehangder Nef,
  Un cwmwl du yn t'wyllu haul nid oes;
Holl anian wena yn ei wyneb ef,
  Gan hoffi 'r dydd ar ol tywyllwch nos.

Yr adar seiniant eu carolau llon
  Yn yr anialwch,—draw crugleisia 'r frân,
Brefa y fuwch, a'r ddafad ar y fron,
  Gan lawen wledda 'mhlith y gwlithoedd mân.

Prysura 'r gweithiwr at ei foreu waith,
  Y gwas chwibiana 'n llawen gydâ 'r wedd,
Pêr byngcia 'r forwyn hyd y weirglawdd laith,
  Ystên ar ei phen, sirioldeb ar ei gwedd.

Ar lan y môr rhyw olwg siriol sydd,
  O'i wely crog y morwr llon a gwyd,
A'r call bysgodwr frysia ar doriad dydd
  Mewn gobaith mael i daenu bradawl rwyd;

Tra chwâl ei blant newynawg yma a thraw,
  I gasglu cregin ar y tywyn maith,
Yn ddiwyd iawn hwy chwiliant ar bob llaw,
  A siriol y'nt er gwaeled yw eu gwaith.

Tawelwch llon sydd ar y dyfnfor du,
  A bychain y'nt y tonnau uwch y dyfn,—
Y llongau gwychion lithrant tros ei fru,
  Fal elyrch cain ar hyd y llynwyn llyfn.

Rhai sydd yn cychwyn ar eu morawl hynt,
  Gan gefnu ar ein genedigol dir,
Eu lleni gwychion chwyfiant yn y gwynt,
  Gan wahodd hyrddiad yr awelon îr.

Ereill ddychwelant adref gydâ 'stôr,
  Ar ol hir grwydro yn mhell barthau byd,
Eu byrddau llon yn wastad gydâ 'r môr,
  Suddedig gan eu llwythau trymion drud.

Draw gwelir drylliad llong,—llusgedig yw
  Gan agerdd-lestr, ac o'i mewn nid oes
Na hwyl na hwylbren, ac na llwyth na llyw—
  Ystorm-guredig, ddrylliog!—peri loes!

Ond beth yw'r dorf sydd draw yn britho'r traeth,
  A galar dwys yn eistedd ar bob gwedd,
A wylo mawr fal pe rhyw gyfaill aeth
  O'u plith i lawr i dywyll byrth y bedd?

Rhyw lu o filwyr, truain, gwael eu byd,
  Sydd yn *ffarwelio* â'u cyfeillion cu!
Gadael y maent eu hoff gartrefoedd clyd,
  I hwylio eu ffordd tros y llydan-for du;

Ac uwch eu penau mae galarus lef,
  Gan berthynasau a chyfeillion mâd;
Gruddfanau dyfnion a esgynant nef;
  Crochlef y fam, a chŵyn y tyner dad.

Mi welaf ddau, yn mhlith y dyrfa brudd,
  A blodau 'r almon ar grymedig iâd,
Yn tywallt dagrau heillt dros grychawg rudd,
  Uwch ben rhyw filwr, ieuangc, heini, mâd.

"O!" meddant, "O! pwy esmwythâ ein cur?
  Ein hunig fab, ti ydwyt gnawd o'n cnawd,
Mab ein hieuengctid, ffrwyth ein cariad pur,
  A chywir ddelw dy gladdedig frawd!

Dysgwyl a wnaethom y buasit ti
  Yn gysur i ni yn ein dyddiau blin,
Y caem dy weled mewn mawr barch a bri,
  A marw megys oddiar dy lîn.

Ond ofer oedd ein gobaith—O! mor ddu,
  Digysur fydd ein gyrfa fer yn awr
O hyn i'r bedd; heb ein hanwylfab cu
  I wenu arnom yn ein cyni mawr!

Ffarwel, ein mab, ffarwel! ffarwel! am byth!"
  Ond yma methodd eu tafodau yngân,
Y dyner fam lewygodd yn eu plith,
  A suddai 'r tad ar wddf y bachgen glan!

Hir y galara 'r dyrfa,—ond yn awr
Rhoddir gorchymyn i'r holl filwyr prudd
Ymbarottoi,—un ddofn ochenaid fawr
Glywir, ac yna llawn ddystawrwydd sydd !

Bellach dechreuant mewn milwraidd drefn
I ddringo i fynu idd y llestr wech,
Bychan meddyliant na chânt byth drachefn
Sengu yn fywiol ar y ddaear sech !

Pob peth sydd barod, ac o'i ddyfrawl fedd
Codir yr angor,—ar y prenau hîr,
Llithra 'r llatheni, a'r hwyliau yr un wedd,
A buan treigla 'r llong oddiwrth y tir.

Rhyw lestr gorwech yw, y'mhlith y llu
O longau a wibiant ar y gwydraidd fôr ;
Rhagori mae fel gwych balasol dŷ
Ar fwthyn gwael cardotyn gwan ei 'stôr.

*Mair* yw ei henw, ac ni bu ei nawf
Y'mhlith y gwylltion donau erioed cyn hyn ;—
O ! mor odidawg yw, rhagorawl brawf
O ryfedd allu a challineb dyn.

Ei pherchenogion lawenhânt y'nghyd,
Wrth wel'd ei harddwch llongau y môr y'mysg,
A hi 'n ymchwyddo uwch ei thonnog gryd,
Fal milwr ieuangc yn ei newydd wisg.

Myned y mae lle tardd pob moethau gwell;
  Lle cwyna caethion wrth eu caled waith,
Lle cwyd yr Haul, draw tua 'r *India* bell;
  Llwyddiannus bydded ar ei gyrfa faith.

Tri chant o filwyr ar ei bwrdd y sydd,
  Gwragedd a phlant, tri ugain gydag wyth,
Wyth deg o longwyr; rhai fforddolion rhydd:
  Yn oll pum cant eneidiau—drudfawr lwyth!

Buan nesânt i'r annherfynol fôr,
  A'r galon drist sydd îs ar ol pob ton;
Yn ofer seinia y milwraidd gôr,
  Nis gall iachâu y briw sydd tan bob bron!

Yn rhesi safant ar yr ochrau bân,
  A'u trem deigrynawl tua 'r ciliedig * dud,
A syn fyfyrio mewn dystawrwydd wnan';
  Nas gwelant mwy, neu ynte, O! pa bryd?

Yno edrychant nes o'r diwedd dêl
  Prydnawnol wyllau ar y ddaear faith,
A'r nepell dir fel du gymylau êl,
  Ac yna llyngcir yn yr eigion laith!

Ac etto safant, bellach er nad oes
  Ond mynydd-donnau yn derchu ger eu bron,
Hwy safant yno, nes b'o t'wyllwch nôs,
  Yn cuddio gwylltred y derfysglyd don.

* Tir.

O'r diwedd ciliant yn eu hing, ond, O!
  Nid nôs i orphwys oedd y noswaith hon,—
Hiraethu wnant am eu cartrefol fro,
  Ac arlloes gofid y derfysglyd fron.

Y'nghanol salwch, hiraeth, poen a gwae!
  Ni chauir amrant, cwsg o'u plith a ffy,
A phob munudyn byr sydd fal pe b'ai
  Yn *awr* o ofid i'r annedwydd lu!

O'r diwedd gwelir rhyw amheuol wawr
  Megys yn dadleu a'r tywyllwch draw,
Pa un deyrnasa trwy'r ehang-der mawr,—
  A'r wawr a ddel a chongcwest yn ei llaw.

Draw cwyd yr Haul fel cadarn gawr y dydd,
  Dilëa 'r dudew, cwyd ei luman lon,
Y don yn glaer gan ei belydrau sydd,
  Mewn euraid wisg, yn dawnsio ger ei fron.

O! mor groesawol yw ei danbaid wedd
  I'r llwfr fordwywyr, wedi 'r noswaith flin,
Cysurawl yw fel hoff newyddion hedd,
  Neu gyfaill tirion mewn annedwydd drin.

O'u hol y mae rhyw awel hynaws fad,
  A'u cluda 'n gyflym dros y cefnfor mawr;
Ofer edrychant am eu hyfryd wlad,—
  Nis cwrdd â'u trem ond môr a nen yn awr.

Eu galar dwys yn raddol gilia draw,
  Cysur a llonder ddychwel yn eu lle;
Rhad a thawelwch welir ar bob llaw,
  A llawenychant am dirionwch Ne'.

Llwyddiannus iawn hwy ânt o ddydd i ddydd,
  Bellach a phellach i'r ehangfor glas;
Ac aml ddifyrwch yn eu plith y sydd,
  I gadw draw pob chwith feddyliau cas.

Gwledd a chyfeddach, a chymdeithas gu,
  Peraidd gerddoriaeth, bywiol ddawns a chân,
Wahoddant sylw 'r teithwyr ar bob tu,
  Ac yn eu plith mae llonder diwahân.

Mae yno hefyd un o weision Duw,
  Cennadwr ffyddlon o'r efengyl fad,
Adawodd holl fendithion cartref wiw,
  I ddwyn y goleu i baganaidd wlad.

Hwn gyda dyrnaid o dduwiolion syw,
  Beunydd a gilia i ryw ddirgel gell,
Ac yno gwleddant ar hoff eiriau Duw,—
  Rhyw bleser purach, rhyw ddifyrwch gwell.

Oll oeddynt deithwyr dedwydd, ac yn awr
  Wyth waith y newidiasai wyneb lloer,
Er pan gadawsant hoff drigfanau llawr,
  I chwilio eu ffordd unigol ar y môr.

Ond taith pymthengnos bellach oedd yn bod,
  Cyn iddynt sengu 'r dymunedig dîr,
Yn ol eu tyb—ond yma, fel erioed,
  Byr olwg dyn a guddia 'i dynged dir.

Rhyw foreu hafaidd derchai haul ei ben
  Mewn clir ddysgleirdeb uwch y gorwel draw,
Nis gwelid cwmwl trwy holl lesni nen,
  Un chwa o wynt i grychu 'r môr ni ddaw.

Yr hwyliau yn llac a ymollyngant fry,
  Y teithwyr giliant i gysgodau oer,
O wres yr haul, a'r gwych nofiedig dŷ
  Sydd gastell mawr sefydlog ar y môr.

Perffaith dawelwch,—ond y morwr call,
  Olyga 'r drych bleserus gydâ braw;
Gwyddai efe fod hyny yn ddiball,
  Yn arwydd sicr fod ystorm gerllaw.

Buan canfyddir yn y dwyrain bell
  Dduon gymmylau yn ymgasglu fry,
A phob arwyddion fod rhyw dymhestl hell
  Yn chwyrn ddynesu yr anffodiog lu.

Gyrir yn awr bob un oddiar y bwrdd,
  Oll ond y morwyr—gyrir oll islaw;
Hwythau brysurant fel y gallent gwrdd
  Yn eithaf parod â'r fygythiawl chwaw.

Yr holl swyddogion, mewn prysurdeb llawn,
  Roddant orchymynion i'r ufuddawl gad,—
Hon yw yr awr y gallont brofi eu dawn
  Ac ennill medr trwy arferiad mad.

Buan y gwibia 'r morwyr ar bob llaw,
  Y'mhlith eu gilydd, weithiau dringant fry
I'r hir hwylbreni, neu disgynant draw,
  Yn nghanol pŷd, yn fwyaf chwim a hy.

Llithrant y lleni ar y prenau bân,
  Codant y naill a gostyngant y llall,
Grillia'r ebyllau, plith olwynaidd gân,
  Nes bod pob beth yn barod a diwall.

Prin y gorphenant eu darparawl waith
  Pan dêl y rhuthr a tharanawl drwst,
Anwrthwynebawl,—ni wrthsafant chwaith,
  Er maint eu medr, ei ddinystriol ffrwst.

Anferthwy anglawdd o ferwedig fôr,
  A'i frig ewynllyd yn y cwmwl du,
Dros yr anffodiog lestr dinawdd dor
  Nes bron ei dymchwel i'w anghysbell fru.

Rhua y gwynt yn erchyll iawn uwch ben,
  Rhwygir yr hwyliau oll yn llarpiau fil,
Duon gymylau guddiant wyneb nen,
  Angau ymgaua ogylch y dilwydd hil!

Gwylltach a gwylltach rhuthra 'r tonau hell,
  Fal milain fleiddiaid ar ysglyfaeth byw,
Tra ar amserau swn taranau pell,
  Syrth ar eu brawus ddychrynedig glyw!

Holl ymdrechiadau 'r morwyr ofer y'nt
  I hwylio 'u ffordd anniddan trwy y llif—
Gyrir y llestr ger y grymus wynt,
  Fel dail cwympedig ger y corwynt cryf.

Y llestr wech ddoe ar ei hymdaith lon,
  Oedd fost y moroedd, gwrthddrych molawd [gwŷr,
Heddyw sydd wawdgerdd i'r anfoddog don,
  Ac at drugaredd didrugaredd * llŷr!

Mawrion forynau weithiau a'i dwg uwchlaw,
  I entrych nen, drachefn chwyrn-deflir hi
I'r du gyfloglyn a agena islaw,
  A'i fflureg drochir yn yr halltaidd li.

Y † gwenyg gwynion olchant dros ei bwrdd
  Gan gyrchu dystryw a chan adael breg,
Dygant y drylliau gydâ hwynt i ffwrdd,
  Heb eiriach gwerth, ac ow! heb arbed teg!

Y dynion lynant yn y rhaffau yn llu,
  Ac ochrau y llestr, etto dygodd ton
Bedwar o forwyr, gydâ'r cadben cu,
  I'r halltfor cas, a boddwyd ger eu bron!

* Moroedd. † Tonnau.

Ofnadwy olwg! ond nid oedd yn awr
 Bryd i alaru,—ni ddigonwyd gwg,
Y dymhestl flin, ond etto yn ddiwawr,
 Ymgynddeirioga, a mwy enbydrwydd dwg.

Môr ar ol môr ddiluwia 'r llong ddiffawd,
 Hithau ruddfana gan ei hamlrif,
Ac agen bellach yn ei hochr wnawd,
 I'r ddalfa isod rhed y dwfr yn llif.

Y sugn-beiriannau a osodir oll
 Ar brysur waith, a rhan o'r gad a êl,
I ysgafnhau y llong trwy fwrw er coll,
 Pob pwysfawr lwyth i'r dyfnder yn ddigêl.

Milwrol arfau, pob trysorau cudd,
 I'r rheibus ddyfnfor teflir oll y'nghyd
Heb neb yn grwgnach, can's pa beth na rydd,
 Dyn er diogelwch idd ei enaid drud.

Syrthia yn awr rhyw fawrion ddafnau o wlaw,
 Dynesant y taranau erch uwch ben,
Tra o'r tu ol i'r tew gymylau draw
 Eu holaf haul ddiflana o gromen nen!

Du nos dynesa ar eu hing a'u haeth,
 Duach gofidiau yn eu haros sydd,
Anobaith du i blith y dorf a ddaeth
 Ar ymadawiad, llwyr enciliad dydd.

Y llu truenus grwydrant hyd y bwrdd
Y'mhob rhyw ddull o arswyd ac o wae;
Pum cant ond pump eneidiau yno g'wrdd;
Un corph o gyni, bair i'm cân dristâu.

Bron na feddyliant yn eu herbyn hwy
Droi cynddeiriogrwydd yr elfenau oll,
Eu câd yn wan gan lafur braw a chlwy',
Eu llong yn ddrylliog a'u hoff ben ar goll!

O ing digymmar! O, ofnadwy awr!
Dysgyrna angau! rhytha dyfrawl fedd!
Pob mantell fenthyg bellach syrth i'r llawr,
Gwelir pob un ar ei briodol wedd.

Rhai safant yno, y'nghanol yr holl wae,
Yn eithaf tawel, eu heneidiau mawr
A godant uwch y perygl, er tristâu,
Diddychryn gwyliant am eu holaf awr.

Ereill ymroddant i wylofain chwith,
A du anobaith, dwys ruddfanau blin
Yn aml esgynant ar y gwynt o'u plith,
Fel hedd-offrymau i ddig ysprydiau 'r hin.

Rhai yn orphwyllog redant yma a thraw,
Gan rwygo eu dillad, a chan dynu eu gwallt,
Gwallgofus ydynt, rheswm mwy ni ddaw
I'w cynnal trwy eu dwys ofidiau hallt.

Rhai sydd yn syrthio yn orchrain ar y llawr,
Gan alw ar Dduw mewn gweddi daer ddilyth,
Addawant addewidion iddo yn awr,
Ac addunedau na chyflawnant byth!

Y'mhlith y llu mae'r efengylwr mâd,
Ei wedd sydd dawel siriol megys gynt,
Yn nhrwst y dymhestl clybu lais ei Dad,
Y Duw a farchog ar adenydd gwynt!

Llu o euogion blygant ger ei fron,
A thaer erfyniant ei weddïau ef,
Cydwybod lwythog ddeffry dan y fron,
A chrynant bellach rhag eiddigedd nef.

Un llangc ieuangaidd ruthrai oddei flaen,
Ei wallt a saif yn erchyll ar ei ben,
Ei lygaid fflamiant annaturiol dân,
A'i ddannedd ringciant gan ddieflig sen.

Gwaeddai â llais gorphwyllog, "Och, och fi!
*Mari* oedd berffaith, fun rinweddol, hardd,
Do, mi a'i cerais, hithau a'm carodd I."
Ac yma yr adyn yn wallgofus chwardd;

"Dygais ei choron, ac, O! ofid blin,
Satan a'm hudai i ladd y rian lon,
A thra cusanai hi fy euog fin,
Fy llaw rodd archoll marwol dan ei bron!

Ffo'is gyfraith ddynol, ond fe'm gwelodd Ior,
  Fe'm goddiweddwyd gan gyfiawnder nen,
O, *Mari, Mari!*" yma neidiai i'r môr,
  A'r dòn a gauodd uwch ei euog ben!

Hoff ddrychau o gariad tyner yma sydd,
  Rhwng perthynasau a chyfeillion cu,
Hon oedd yr awr y profid brawdol ffydd,
  A chariad pur, y'nwyneb angau du!

Y gwr a'r wraig gyd-wylant uwch eu gwae,
  Ond ymgysurant y cânt farw y'nghŷd,
Y cwlwm anwyl tybiant gaiff barhâu,
  Yn un ânt trwodd i'r tragywyddol fyd!

Y baban gwan, draw sugna fron ei fam,
  A hi mewn llewyg! tra ar hyd y llawr
Chwareu ei phlant, A! hwy ni wyddant am
  Eu tynged tostur, eu henbydrwydd mawr!

Y gwlaw yn awr ddisgyna yn drwm, a rhu
  Ofnadwy y taranau sydd uwch ben;
Perffaith dywyllwch dros y cefnfor du
  Sydd, ond pan saetho mellt dros lediad nen.

Y dwfr gynnydda yn y ddalfa is-law,
  Er maint ymdrechau y llafurwyr oll,
Y cychau a olchwyd trosodd gan y chwaw,
  'D oes obaith mwy na byddant oll ar goll!

Pryderus wyliant am yr angau i
  Derfynu eu gofid,—ar gyfyngau mae
Swn rhai yn ymdaflu i'r cynddeiriog li',
  Blinedig ar fath estynedig wae!

Y mellt yn amlach amlach wibia o'u cylch,
  Gan ddangos ddyfned eu trueni yw,
A'r anfad dôn yn wylltach drostynt ylch,
  Mal pe mileiniai eu bod etto 'n fyw!

Llucheden fawr a'rwygai 'r wybren las,
  Holltodd yr hwyl fawr, O! fath ddychryn oedd!
Deuddeg a laddwyd gan yr ergyd gas,
  Y daran foddai eu trangcedig floedd!

Y llestr bellach lenwid gan y dwfr,
  Ac ymddangosai fel pe suddai ar frys,
Y cad lluddedig cystuddedig llwfr
  Ymbarottoant i'r angeuol wys!

Ond tra derchafid ar dal frig rhyw dôn,
  Mellten ddisglaerwych yn goleu ne'
Ddangosodd iddynt fod y tir ger bron,
  Ond rhy ddiweddar, angau oedd yn y lle!

Un floedd anferthwy rwygodd entrych nen,
  Un saeth o obaith trwy eu calon fu,
Môr-glawdd rhyferthwy dorrodd uwch eu pen,
  A'r llong a suddodd idd y dyfnder du!

Yna derchafodd eu hangeuol gri,
  A'u gwaedd dirgrynawl gododd uwch y tymp,
Taranau a'u gwatwar, a'r tonau mawr a'r lli'
  A orfoleddant megys yn eu cwymp!

Rhai yn hir ymdrechu gydâ'r tonau fu
  Cyn iddynt suddo, a hir glynai rhai
Yn nrylliau 'r llestr, ond o blith y llu
  On'd un ddiangodd i fynegu 'r gwae!!

---

## Cariad.

Beth yw cariad, O! pa beth?
Yn nirgelau bron yn mhleth;
Onid Brenin cadarn yw,
Sydd yn llywio dynolryw:
Mil a fu yn ei wasâu,
Byth heb flino dan ei iau,—
Dan ei allu treulio oes,
Mawr ei blinder, dwfn ei loes;
Dirfawr ofal, trafod blin,
Didawl siom, a bythawl drin;
Ammau, hyde', ffydd, ac ofn,
Benben yn y fynwes ddofn;
Trymder calon, gwelwedd gwedd,
A dihoeni i fin y bedd.

Eto druain mwya'r clwy,
Hoffi caru wnant yn fwy.
Cadarn swynwr ydyw serch,
Dwg y gwrid a ruddiau merch;
Ac a wna y tafod llon,
Yn dermud, gan ofidiau'r fron;
Gyr yr hoenus iach yn brudd
I frydio i'r dirgelion cudd.
Cariad try anialwch cras,
Yn baradwys ffrwythlawn fras;
Cariad wna gymdeithas lawn,
Yn unigedd oeraidd iawn.
Cariad wna y gwan yn lew,
Try yr ewig fel y llew;
Llysg pob lludd fel fflam o dân,
Try fynyddau'n frychau man;
Chwelir rhwystr o bob rhyw—
Ger ei fron, cadernid yw;
Gwedwch sawl a wyr pa faint
Drengodd gan y cariad haint?
Galar, llid, cenfigen, du,
A laddasant lawer llu,
Myrdd a suddodd yn eu llif,
Cariad ladd tu hwnt i rif.
Cariad losgodd Troia syw,
Gwympodd llion ger y Gryw;

Cariad wnaeth, O gariad drud!
I Antoni golli'r byd :—
Cariad Gwtheyrn barodd frad,
Ac offrymiad ei hoff wlad,
Cariad rhyfedd, pa beth yw?
Gelyn anwyl dynolryw;
Rhyw alluawg ddirgel swyn,
Gorthrwm faich sydd hawdd ei ddwyn;
Cadwyn gadarn esmwyth iawn
Carchar caeth, nad ymadawn,
Byth o hono—Clefyd yw,
Mwyn i'w ddyoddef, ond cael byw.
Beth yw cariad, O! pa beth?
Yn y galon fach yn mhleth?
Rhyw ormes-deyrn llongu yw,
Yn mwyn-dreisio dynolryw.

## Yr Annerch Ymadawol.

FFARWEL! Gwen, byth, byth o ffarwel!
  Ie BYTH ffarwel, os rhaid,
Medd fy nhafod, ond yn ddirgel,
  Gwaedda'm calon glwyfus, PAID!
Paid! adseinia fy holl enaid,
  Paid, dolefa'm hysbryd prudd;
Paid! gruddfana yr ochenaid,
  Maether gobaith eto 'n gudd.

O! mae rhyfel yn fy nghalon,
  Brwydr yn fy mynwes yw;
Ddagrau, cludwch draw fel afon
  Ymchwydd gwae fy nghalon friw;
Ond ni ddeuwch—llysg fy llygaid,
  Sychion yw fy ngruddiau brwd,
Mae'r llucheden yn fy enaid
  Wedi llwyr hysbyddu 'ch ffrwd.

Gwen! pe bae dy law yr awrhon,
  Yma ar f' annedwydd fron;
Yn teimlo holl guriadau dyfnion,
  Ymdrech ddwys y galon hon:

Pe cait deimlo 'm gwaed berwedig,
Ffrydiaw oriawg gwyllt y lli!
Oni thoddai 'th serch ychydig,
Fod hyn oll am danat ti?

Tybiais hyn—ond breuddwyd ydoedd,
Breuddwyd darddodd o fy nghlwy;
Tybiais au freuddwydion luoedd,
Ni freuddwydiaf felly mwy;—
O ddychymyg ffals am llonodd,
Fradus obaith oedd mor gu,
Ffoesoch oll—eich swyn diflanodd,
Minnau mewn anobaith du!

Gwelaf bellach mai yn ofer
Syllais ar holl harddwch Gwen;
Ac na wnaeth fy nghalon dyner
Ond dwyn tristwch ar fy mhen.
Ow! erioed mi ni feddyliais
Wrth gu sylwi ar ei gwedd,
Fy mod yn meithrin yn fy mynwes,
Elyn cas i ddwyn fy hedd!

O! mi gofiaf wrth ei gweled
Fal y llonai 'm calon iach,
Ac yn fuan yn fy llygaid
Fe ddisgleiriai'r deigryn bach;

Cofiaf fel os Gwen a wenai,
  Rhuthrai 'r gwaed i gochi 'm grudd,
Ac os gwgai, fel y ciliai,
  Y 'mhell o fewn fy nghalon brudd.

Cofiaf fal cynhyrfai 'm calon
  Pan ymaflwn yn ei llaw,
Ac os wrth arall byddai dirion,
  Fel y llenwai 'm bron a braw;
Cofiaf oll—ond pam y cofiaf
  Holl deimladau boreu f' oes?
Canys wrth bob atgof teimlaf
  Trwy fy ysbryd drylliog—loes!

Mae holl harddwch Gwen yn para
  I flodeuo megys cynt,
A'i sirioldeb a wasgara
  Brudd-der lluoedd gyda'r gwynt;
Ei chymdeithas swynawl, serchog,
  Plith cyfeillion sy'n llawn bri,
Ac ei chariad, i'w berchenog,
  Bywyd yw—ond angau i mi!

Mynwn lidio—ond fy nghariad,
  Er mai 'n ddagr im y trôdd,
Eto lysg ymhob rhyw deimlad,
  Ond y gobaith—hwn a ffôdd!

Minnau ffô'f cyn d'rysu'm deall,
  Ond pa le ffô'f oddiwrth fy mriw,
Gweled Gwen yn eiddo arall,
  Tŷr o galon! gormod yw!

Gwen anwylaf rian dyner,
  Ti addfwynaf, lwysaf fun;
Pa'm na chefaist i'th greulonder,
  Neb yn wrthrych ond fy hun?
Bu fy mryd i gyd yn gryno
  Yn dy bresenoldeb di!
Bellach teimlaf y bydd hebddo
  Oll yn oeraidd *flanc* i mi!

Chwiliaf am ryw anial dyrus,
  Rhyw anffrwythlawn ddiffaeth wlad,
Trigfa 'r bwystfil angharíadus,
  Man y treng pob teimlad mad;
Gwlad mor oer nes fferu cariad,
  Neu mor frwd nes llethu serch,
Lle y byddo 'n llwyr ddieithriaid,
  Teimlad gwr, a thegwch merch.

Neu mi grwydraf yn anfadus,
  Lle derchai 'r weilgi wyllt ei chri,
Terfysg yr elfenau bradus,
  Etyb i'm teimladau I;

Yno boddir f' ocheneidion
  Gan uwch ru y gwynt a'r don;
Ac fe guddia 'r halltawg eigion,
  Fy nagrau halltach yn ei fron.

Eto tybia 'm calon dyner,
  Pe deallai Gwen fy ngwae;
Ac amgyffred ond yr hanner
  O fy ngofid fel y mae;
Pe canfyddai ddyfnder cyni,
  Ing ac och fy enaid caeth;
Bron na thybiwn y galarai,
  Uwch yr anrhaith mawr a wnaeth.

Ond pabam y maith gwynfanaf?
  Geiriau ofer gwell yn fyr;
Ond os tawa 'm tafod, teimlaf
  Mai fy nghalon fach a dŷr;
Ffarwel Gwen! byth, byth O ffarwel!
  Bythol ffarwel, gan mai rhaid,
Medd fy nhafod ac yn ddirgel,
  Ni feiddia 'm calon waeddi, Paid!

# Dy Lygaid Du.

DEFFRODD fy awen lawn o dân,
Anwylaf fun, i eilio can
O! glod i ddwys fwyneidd-dra glan,
Dy lygaid du.

Can' gresyn fod un deigryn prudd
O boen a gofid, nos na dydd
Yn treiglo byth o gonglau cudd
Dy lygaid du.

O! mewn cyfleusder teg na bawn
Bob boreu a hwyr, a nos a nawn,
I selio am min amrantau llawn
Dy lygaid du.

Fy nal gan gadwen serch a g'es,
(Mil cryfach yw na hai'rn a phrês)
A doddwyd im yn eirias wres
Dy lygaid du.

Pa galon dŷn a all na thodd,
Os arno mewn addfwynaf fodd
A chariad pur unwaith y trodd
Dy lygaid du.

Hudoles fach! wyt wedi dwyn
Fy serch a'm meddwl oll a swyn
A grym diail tynerwch mwyn
Dy lygaid du.

Rhyw gynhwrf sydd o dan fy mron,
Ymchwydda fel sigledig don,
Cyffrow'd y dyfn gan olau llon
Dy lygaid du.

Fy nghalon sy'n myn'd "pit a pat"
Yn crynu fel "I do'nt know what"
Gan ryw at'dyniad rhyfedd at
Dy lygaid du.

Gwynebu wnawn bob ing a loes,
Pob gofid, tristwch, coll a chroes,
Ond im gael llewyrch trwy fy oes
O'th lygaid du.

# I Gymmru.

HYFRYDAWL ydyw caffael drych
  Ar faesydd gwyrddion teg,
A gerddi ffrwythlawn Lloegr wych
  A'u haddurniadau chweg:
Hyfrytach fil i'm golwg *i*,
O *Gymmru*, yw'th wylltineb di.

A thra hyfrydlawn hefyd yw,
  Ar fy moreäawl hynt,
Gael peraroglau blodau gwiw
  Yn nofiaw yn y gwynt;
Ond mil hyfrytach yw gan *i*
Un awel o'th fynyddgrug di.

Hyfrydawl ydyw gweled gwaith,—
  Effaith Celfyddyd gain,—
A rhyfedd adeiladau braith
  Eirian maith aur a main;
Hyfrytach, *Gymmru*, fil i *mi*
Dy greigiau llymion noethion di.

A hyfryd gwel'd afonydd maith,
  Mal moroedd bychain bron;
A'r llongau gwychion ar eu taith,
  Gan ddawnsio ar y don;
Hyfrytach, *Gymmru*, fil i *mi*
  Yw tyrddiad cryg dy ffrydiau di.

A hyfryd yw y ddinas lawn,
  A phrysur wib ei llu.
A llon gymmysgfa dysg a dawn
  A'u bywiol siriol ru:
Hyfrytach, *Gymmru* fil i *mi*
Tawelwch dy bentrefi di.

Mi ddringaf draw i ben y bryn
  I edrych tua'm gwlad,
Ond gwawd dyeithraid gaf am hyn
  Eu dirmyg a'u sarâad;
Ni wyddant hwy pa faint i *mi*
Sydd, *Gymmru*, plith dy fryniau di.

(*The above translated by* Mr. Joseph Hughes.)

## To Wales.

O how delightful to be seen
  Are England's verdant plains;
Her fruitful gardens dress'd in green
  And deck'd with flowery trains:
But more delightful, *Wales, to me*
Thy wild and heathy hills to see.

Delightful is the breeze that blows
  On summer morning fair;
And from the lily and the rose
  Perfumes the ambient air:
Far more delightful, *Wales, to me*
To breathe my mountain air in thee.

Delightful also to be seen
  The Works of Science old;
And edifices wondrous sheen
  Adorn'd with gems and gold:
Far more delightful still to *me*
O *Wales*, thy craggy rocks to see.

Delightful are the rivers fine,
  That England's glens do lave;
Her noble Ships in splendour shine,
  And dance along the wave:
Far more delightful, *Wales, to me*
The gentle murmuring streams of thee.

Delightful is the City's throng,
  The lively busy crowd,
Which animates her streets along
  With noise and bustle loud:
Far more delightful, *Wales, to me*
The silent villages of thee.

Anon I'll climb up yonder hill
  To see my native land,
But, ah, perhaps the strangers will
  My zeal as folly brand;
They little feel what charms to *me*,
O *Wales*, amongst thy mountains be.

# Y Bardd a'i Awen.

BARDD.

FFARWEL it' fy Awen, ffarwel iti mwyach,
Ffarwel i dy bleser, dy swyn a dy gân;
Cydymaith fy mebyd,—er nad oes dy hyfryttach,
A gwn na chaf g'wrdd â chydymaith amgenach,
Wna'm pen yn oleuni a'm galon yn dân.

Ond rhaid i ni ysgar—ac ofer fy rhodres,
Ond anhawdd yw gadael hen gyfaill fy mron;
Dim mwy ni chei drigo yn llon yn fy mynwes,
Yn sïo fy nwydau â'th freuddwyd a'th anwes,
Nes hela pob gofid o'm calon o'r bron.

Dim mwy rhwng fy nwyfron yn glyd ni chei aros,
Yn dyblu pob pleser, yn gloewi pob drych;
Na chreu y fath ddelwau pleserus a gwiw-dlos
I lonni fy enaid a thwyllo yr hirnos,
Cydymaith fy mebyd, fy swynwr—Bydd wych.

AWEN.

Beth, beth sydd yn bod, a phaham y'm gadewi?
Fy hoenwych lettywr, fy mrhydydd, fy mardd;
A ballodd o'th gof dy addewid i'm llochi
Pan addewais yn ffyddlon am hyn dy gyfodi
Y'mhlith beirdd dy genedlaeth yn enwog a hardd?

BARDD.

Mi gofiaf y cyngrair, a'r dagrau 'n llifeiriant
A helant eu gilydd yn chwim dros fy ngrudd;
Fy nhad a'm hathrawon er hyn a'm dychrynant,
Difriant fy awen, a beunydd dywedant,
O dan dy felusedd fod gwenwyn yn gudd.

Dywedant am feirdd sydd yn awr yn eu beddau
Syrthiasant yn ebyrth i'th dwyll ac i'th swyn;
Y byd yn gor-synu uwch ben eu caniadau,
A miloedd yn moli ac yn hoffi eu henwau,
A hwythau 'n llewygu heb gysur, heb gŵyn!

Dangosant hyll ddrychau iselder a thlodi,
Ac eisiau a chyni a gwaeledd a nych,
Er maint yw fy nghariad, er mwyned dy gwmni,
Mae'n ormod i'w ddioddef, mae'n ormod caledi
Er mwyn dy gyfeillach,—am hynny bydd wych.

AWEN.

Yn araf, f'anwylyd, os hyn yw y cyfan,
Boed i mi wrandawiad diweddaf i'm llais;
Ni byddai fy ngeiriau it' gynt yn anniddan,
Na'm llef yn ddirmygus—na attal fy yngan,
Yn cwbl er boddio cybydd-dod a thrais.

Pe caet dy ddylenwi â chyfoeth a golud,
A phob rhyw esmwythder a allant ei roi,

A gweis a morwynion yn dysgwyl yn astud
O'th gylch i gyflawni 'th orchymmyn yn esgud,
   A llu o wenieithwyr o'th amgylch yn troi,—

Er gorphwys mewn gwychder y'nghanol byd addien,
   A gwledda ar ddanteithion goreuon y byd;
A fyddit yn ddedwydd pryd hyn heb dy Awen,
Dy enaid yn siriol, dy galon yn llawen,
   Neu oni fai 'r cwbl yn wegi i gyd?

Da gwyddost y byddai,—ond os caf breswylio
   Y'nghelloedd dy enaid yn dawel mal cynt,
Os goleu dy ddydd mi a wnaf ei oreuro,
Os du a chymylog mi a wnaf ei oleuo,
   P'le bynag y crwydri bendithiaf dy hynt.

BARDD.

Wel, tyred fy awen â'th arab-fwyn eiriau,
   Os mawr fydd fy nhlodi, fy mhleser fydd mwy;
Can's rhyddid i mi ydyw gwisgo 'th gadwynau,
A gwenwyn os llecha 'mhlith mêl dy wefusau,
   Mi ganaf y'nghanol fy nghystudd a'm clwy'.

Cei awen serch-swynol, fy mynwes cei drigo
   O foreu fy mywyd mwy hyd y prydnhawn;
Fy oriau dyscleiriaf cei dd'od i oreuro,
A gauaf du cystudd a thrallod cei oleuo—
   A boed i mi drengu pan drengo fy nawn.

# Annerch

## I'R "CYNNIWEIRYDD,"* AC EMYN I WYBODAETH.

HENFFYCH yn well i ti hoff Gynniweirydd,
  Gylch-grawn gwybodaeth, a thlys-goffor dawn;
Dercha d'oleuni dros ddyffry a mynydd,
  Boed Walia o'th addysg uchelradd yn llawn.
Ni chafwyd fi'n euog, er's bellach ddwy flynedd,
O unrhyw farddoniaeth;—ond wele o'r diwedd
Tydi a ddeffröaist fy awen, a rhyfedd,
  Pe cawn I holl Gymru 'r wy'n meddwl na thawn.

Ha! ha! mi a welaf dy lewyrch ysplenydd
  Yn huliaw hen Gymru, a'th wawl yn mhob bro;
Ellyllon y tywyllwch ar drawsiau eu gilydd,
  O flaen y goleuni a welaf ar ffô.
Annuwiaeth, anffyddiaeth, a gwag-ofn a rhyfyg,
Anwybodaeth a rhagfarn, a'u holl waeau aml-blyg,
A welai 'n cyd-orwedd mewn trag'wyddol lewyg,
  A haulwen gwybodaeth yn fawr yn ei drô.

Ië wylwch chwi annynol dreiswyr cydwybod,
  Ar ddydd eich gogoniant, mae bellach yn hwyr;

* Cyhoeddiad misol a gyhoeddid gynt yn y Wyddgrug.

Mae amser eich bradus or-dreisiad ar ddarfod,
Gwastadëir yr anwastad, uniawnir y gŵyr.
Bu'r byd yn rhy hir yn mrwd wely anwybodaeth,
Lle magwyd paganiaeth, pabyddiaeth, derwyddiaeth,
Lle ffynodd creulonder hyll gau-offeiriadaeth,—
Mae gwarth y ddynoliaeth ar ddarfod yn llwyr.

Crefyddol a gwladol, mor fawr yw ein rhyddid;
Mae cyflwr dynolryw bob dydd ar wellhâd;
A hyrwydd yw 'r llwybr i ddawn a chelfyddyd
I gludo eu drudfawr drysorau i bob gwlad.
—Gynniweirydd! mae cerbyd er's talm wedi cychwyn;
Dysgwyliaf i ti roi *hwb* glew yn yr olwyn,
I'w yru ar frys dros bob mynydd a chlogwyn,
O fewn Tywysogaeth hen Gymru gu fâd.

Y dduwies Gwybodaeth esgynai ei cherbyd,
Yr hwn a oreurwyd gan wên y mawr Dduw:
Moesoldeb, dedwyddwch, a heddwch a hawddfyd,
Ddilynent ei llwybr yn osgordd-weis syw:
Lle cym'rai ei hynt, y wlad a ffrwythlonai,
A'i 'r ddaear fal nef, a'i thrigolion fel duwiau;
Darostyngid holl anian yn ei hamryw elfenau
I ddyn, tra o'i llaw pryd a phryd y disgynai
Ddillynion celfyddyd er lles dynolryw.

Tebygaf pe deuai hen Dderwydd o Brydain
I fynu o'r bedd lle y bu'n cysgu cy'd;

Agorai ei lygaid a'i enau yn llydain,
  A synai yn fawr pa beth sy'ar y byd:—
Ië tybiaf o'r bron yr amheuai o hono,
I ba ryw fyd rhyfedd y b'ai wedi crwydro;
A'r aruthr olygon ro'ent iddo y bendro,
  Pe b'ai ef y doetha' o'r Derwyddon i gyd.

Gwel'd rhes o gerbydau mawreddig a chywrain,
  Yn prysur felltenu ar hyd y brith ffyrdd;
Ac etto heb weled ceffylau nac ychain,
  Asynod na dim yn chwyrn-dynu y myrdd!
Gwel'd llestr mawreddig yn rhodio y dyfnfor
Heb rwyf yn ei hyrddu na hwyl yn ymagor,
Yn pygdduo yr awyr, a throchioni 'r cefnfor
  Pan rwygo 'i holwynion ar hyd y môr gwyrdd.

Pe cym'rai ei hynt i fwn-gloddiau hen Gymru,
  Fe welai yr agerdd yn codi y mŵn;
Ac agerdd yn gwau, ac agerdd yn nyddu;
  Ac agerdd wnai 'r cwbl mewn caddug a sŵn.
Ychydig o agerdd, a rhes o olwynion,
Ac ychydig o olew i'w cadw yn llyfnion,
Wnai i ugain o feirch neu ddau cant o ddynion,
  Ymddangos mor weiniaid, neu wanach nâ chŵn.

Gorphwysed yr ychain a'r meirch ar y gwaenydd,
  I bob beth bywydawl daeth dydd Jubili;

Fe wneir yr elfenau a'r defnyddiau yn ufudd,
  Yn nwylaw cywreinrwydd llafuriant i ni:
Yr awyr a dreiddia i grombil y ddaear,
Erlidia y dwfr i fynu yn hygar,
'D oes dwfr, tân, nac awyr, na daear yn anwâr
  I ddyn yn bresennol,—mor fawr yw ei fri.

Holo! Mr. Derwydd! cymmer ofal o'th ben-glog,
  Onide yn ddisymwth cei ynddo fawr aeth:
Byddech chwi yn lled hylaw i ladd eich cymmydog,—
  Ni a fedrwn yn well, neu yn hytrach yn waeth;
Yn awr n'i wahanwn y cyrph a'r eneidiau,
Mewn moment â thrwst megys mellt a tharanau;
Neu os bydd rhyw ofal rhag clwyfo eu clustiau,
  Gwna 'r awyr-wn dystaw heb dd'weyd o b'le daeth.

Tyred drosodd yma mae 'r llwybr yn fudr,—
  Yn araf, ow 'r hendaid! pa'm cami mor fras?
Nid canwyll corph yw hynyna 'n y gwydr,
  Nac * ellyll-dân ychwaith fal a grwydrai'n y maes,
Mae dydd canwyll frwyn bron wedi machludo,
Ac wele yn awr ddull celfyddach o oleuo,—
Gadewir yr aflwydd, y *dross*, a'r mwg heibio;
  Gwell yr elfen ei hunan, sef *Hydrogen Gas.*

Dyna ddyn â'r un elfen yn llenwi cwd sidan,
  A elwir gan ddynion y byd, "*air-balloon*;"

* Jack-o-Lantern.

Mewn basged wrth hwn ti a'i gweli yn fuan,
  Yn esgyn fal eryr uwch daear a'i swn.
A phe byddai ond digon o uchder awyr-nen,
Mi w'rantaf y teithiai yn fuan trwy 'r wybren,
I dalu ymweliad, a chadw nos lawen
  Gyda 'r hynaws gydymaith, y *man in the moon.*

'D oes achos myn'd yno ychwaith er mwyn gwybod
  Ychydig o'i hanes; nid rhaid wrth y draul;
Mae doethion yn wastad yn gwylio i ganfod,
  Ysgogiad y lleuad a'i meistr yr haul.
Ystyriant ei hinsawdd drwy graff spïenwydrau,
Ac enwant ei moroedd a'i mawrion fynyddau;—
Ië, cair rhai a honnant wel'd mawrion adeiliau,
  Yn profi nad yw y trigolion rai gwael.

Hwy wyddant yn dda pa faint o filltiroedd,
  Sydd oddiyma i'r haul (mae y ffordd yn lled hir)
A phellder cydmarawl holl sêr yr ëangderoedd,
  A weli di fry pan fo 'r wybren yn glir.
Dywedant pa gynted daw 'r gwrês sydd mor heini
Oddiyno; ac er hyn fal ei cura 'r goleuni:
O, na bawn I gan gyflymed a'r rhei'ny!
  Awn yno i 'mofyn yw 'r cyfan yn wir.

Mesurant holl feithder gyrfäau 'r planedau,
  Sy'n tramwy o amgylch ein haul mawr uwch ben:

Adwaenant yr aml sêr cynffonog wrth enwau,
Ac os bydd yr haul neu y lleuad dan len,
Sef wedi eu *eclipsio*, 'd oes neb yma 'n synu,
Cair digon o rybudd bob amser o hyny,
Gan ddoethion, rhag ofn i wirioniaid ddychrynu,
A meddwl fel cynt fod y byd mawr ar ben.

Ond ofer i mi geisio enwi 'r holl wyrthiau,
A ddygwyd i'r amlwg gan athrylith dyn:
Fe gredai ein teidiau mewn pedair elfenau,
Fe brofwyd yn awr fod dros ddeugain ac un.
Am brif ddeddfau natur, a'u holl ail-achosion,
Mae craff anghyffredin gan ddynion yr oes hon,—
'D oes dim yn eu *mwydro* ond *perpetual motion.*
Gynniweirydd! cei di ganfod hwnw dy hun!

'R wy 'n myned yn faith, darfyddaf yn ebrwydd,
A dodwch wrth odreu fy ngwaith, "I'w barhau,"
Os mynwch, neu os rhoddai hyny ryw dramgwydd,
Eich prydydd yn ufudd a distaw a dau:
Un gair am yr achos a'r ardderchog foddion,
Trwy ba rai y dygwyd fath orfri ar ddynion,
A lwythodd ein hoes â'u haneirif fendithion,
Nes iddi yn glau at berffeithrwydd nesâu.

Neud mai yr Argraffwasg, wych beiriant argywrain,
Drosglwyddai belydrau hyfrydlawn y gwawl;

A dygai wybodaeth ar eryrawl adain,
  I oleuo 'r holl ddaear o begwm i bawl;
Cludai foes a chelfyddyd dan gysgod efengyl;
Dacw ddyn yn lle graddio fel cynt gyd â'r bwystfil,
Yn fuan mewn pwyll yn debycach i engyl.
  Argraffwasg fendithlawn! pwy draetha dy fawl?

Trwy gyfrwng y wasg, wele 'n glyd yn y gornel,
  Cymdeithasaf â'm cyfaill dros fron eigion laith,
Tu arall i'r ddaear; a'r wasg yn ddiogel,
  Drosglwydda i oesoedd dyfodawl ein gwaith.
Trwy hon yr hyderaf, O! ddoeth Gynniweirydd,
Y cynniwair dy lewych yn glaer ac ysplenydd,
Drwy gymmau dy wlad a'i holl dywyll froydd,
Hyd eitha' dy *fifty-horse-power* ymenydd;
  A'th yrfa fo'n wych, yn llwyddiannus, yn faith.

## Emyn i'r Wenynen.

WENYNEN fach, nid allaf lai
Na gwau rhyw fechan emyn,
O fawl i'th enw, gan fy mod
'N ei osod ar fy llyfryn.*

Greadur bach, mor ddiwyd wyd,
Yn hel dy fwyd beunyddiol,
O foreu i hwyr, o ddydd i ddydd,
Dy lafur sydd ryfeddol.

Pan gwyd yr Haul o draw i'r don,
Ar natur lon i d'wynu,
Ymegyr blodau teg yr ardd,
Yn hardd mal i'w groesawu.

A buan, buan, yn eu plith,
Cyn chwalu 'r gwlith i gerdded,
Fe welir y wenynen fach,
A'i mwyn-si iach ceir glywed.

O ardd i faes, o rôs i rôs,
O lili dlos i lili,
Yn awr 'n ymgladdu yn y † gwull,
Yn awr ar ‡ ffull yn codi.

* Ymddangosodd y llinellau hyn yn "y Wenynen"; cylchgrawn misol a gyhoeddwyd am dymhor gan yr awdwr.
† Blodau. ‡ Frys.

O bob teg flagur lle y dêl,
  Fe sugna fêl yn llawen,
Ac yna dwg pob un ei ran
  I'r cwch o dan ei aden.

Wenynen fechan, p'am yr wyd
  Yn casglu bwyd trwy 'r hirddydd,
A dwyn y cyfan i dy gell?
  Nid wyt ddim gwell nâ chybydd!

"O! nage, Syr, nid felly chwaith,"
  Mae yn ei hiaith yn ateb,
"Mae 'r gaua 'n d'od, a rhew ac ôd,
  Y rhod dry' i'r gwrthwyneb.

Yn lle y blodau hyfryd hyn
  Daw 'r eira gwyn i'r gerddi,
A'r gwynt yn oer, a hir y nos,
  Dim haul, dim rhôs, dim lili.

Am hyn cyn iddi fyn'd yn hwyr,
  O gŵyr mi wneuthum gaban;
A deued gauaf pan y dêl,
  Mae 'n llawn o fêl yrwan."

Call iawn yw hyn, ond meddwl 'r wy'
  Fod genyt fwy o lawer
O fêl nag i ti 'n unig fydd
  Yn eisiau yn nydd cyfyngder.

"Ac nid i mi ond i'r holl haid
Y mae 'n anghenrhaid casglu,
Y mae y mêl a gasglwyf fi
I'w ranu ymhlith y teulu.

Mae genym rai yn gwylio 'r tŷ
Nid all y rhei'ny weithio;
Ac eto hebddynt hwy ni bydd
Ein cyd-lawenydd gryno.

Fe gasglwn ddigon fel y gall
Y teulu heb wall gyd-wledda;
Cyd-ymgysuro a chwarau yn lew
Tra pery y rhew a'r eira.

Pan ruo 'r gwynt, a'r cenllusg ddaw
Plith gwlaw i guro 'r hirnos,
Mor glyd-gysurus fydd ein byd,
Nghyd yn y crwybr diddos."

Yn ara' fy ngwenynen lon,
Ti beri i'm calon ofid,
Na lawenha, mae 'n ofer waith
Yn iaith dyfodawl wynfyd.

Ow! Ow! dy ddawn a'th lafur blin,
A'th drin a dynodd sylw;
A'r hyn a gesglaist ti heb wall
I arall fydd yr elw.

Fe'th ddeil y du frwmstanaidd frâd,
  Mor irad fydd dy dynged,
Cei fygu yn dy fêl dy hun,
  Mae dyn mor galon-galed!

Yspeilia a llwyr ddryllia 'th dŷ,
  A'r teulu oll yn feirw;
Ow! er mor felus yw dy ddydd
  Dy ddiwedd fydd yn chwerw.

### Y CYMHWYSIAD.

Dilynwn ninnau er ein llwydd
  Ddiwydrwydd y wenynen,
Gydgasglwn oll yr hyn sydd dda
  Yn ha' ein ieu'ngctyd llawen.

Da ydyw casglu cyfoeth byd
  Ac eiddo drud lle byddont,
Nid diogel y'nt, cymmera 'r rhai'n
  Eu hadain pan y mynont.

Ond awn i gasglu trysor chweg
  I faesydd teg Doethineb,
Lle ceffir hwn, ni chollir mwy
  Trwy oesoedd trag'wyddoldeb.

Trysorwn erbyn gauaf hîn,
  Daw amser blin o'r diwedd;
Doethineb, mêl a fydd a gwin
  A goleu i fin y dufedd.

# Y Diwedd-Glo;

SEF,

## ADOLYGIAD O'R CYFAN, AC ANNERCHIAD YMADAWOL.*

CYN cael y mel i gyd o gwch yr haid,
  A'i roddi heibio erbyn dydd a ddaw,
Difetha'r gwenyn bach,—eu mygu raid,—
  A chwalu eu cywreinwaith ar bob llaw!
Ac felly 'ngwenyn innau,—Ow! ni phaid
  Yr arfer er fy mwyn;—er maint fy mraw.
Fy ngofid am fy ngwenyn, a fy nghlwy,
Ni chaf y gwaith o'u magu a'u meithrin mwy.

Buaswn yn difyru einioes faith
  I arolygu a chodi ffrwythlawn heidiau,
Ond O! ni chaf fwynau'r fath hyfryd waith,
  Rhaid i mi rodio llwybrau 'n nhad a nheidiau,
Ac esgeuluso f' awen a fy iaith
  I edrych at ddaearol anghenrheidiau;
Nid aiff y fasnach fydol fawr ymla'n,
Os na chaiff hi fy sylw diwahan.

Nid wyf yn caru gafael yn yr aradr,
  A throi yn ol cyn cyraedd pen y gwys,
Ond rhaid yw hi;—ac ni waeth taw na siarad,
  'Rwy 'n gweled fod geiriau f' ewyrth o byws,

* Wrth roi i fynu gyhoeddi "Y Wenynen."

Can's llawer gwaith dywedodd 'r hen Cadwaladr
  Ymhlith ei aml gynghorion, doethion, dwys,
Os magwn wenyn, troid hwynt yn fy erbyn;
Ac y cawn dalu i bobl am eu derbyn.

Ac felly fydd, ychydig, fel pawb arall
  A fyn oleuo ar yr enwog Gymry;
Am bob rhyw lyfrau maent yn hollol ddiwall
  Ond llyfr *y sect*, am hwnw, rhaid ei brynu
Boed wael boed wych; yn hyn nid yw eu deall
  Yn ddysglaer iawn, mae'n ddigon gwir er hyny—
A phe argraff'swn innau er mwyn ennill,
Buaswn heddyw 'n waeth na ffwl yn Ebrill.

Nid ydyw hyn yn hyfryd iawn, ond eto
  Nid yw edifar genyf am a wnes,
Er byred fu fy ngyrfa, 'r wy'n gobeithio
  Y gall rhyw ran o'm llafur fod o les;
Fe fu i mi—am hyn 'rwy'n edrych heibio
  I'm tipyn colled yn y ffordd o bres;
Fe gaf beth enw, ac rwy' yn hyderu
Pan welir yr holl gyfrol, gwneir ei phrynu.

Rwy'n cwyno wrth ddiweddu 'm llyfr yn awr,
  A'i adael druan ar yr eang fyd;
I'm *doeth* gyfeillion oll fy nhrin fel cawr
  Trwy'm gadael yn ddigymhorth bron i gyd,

A mi y'mhlith gelynion, glampiau mawr,
  Fel gwyddwn wrth eu chwyrnu o bryd i bryd,
A'r rhai a ymwrolant, fe allai, yn arw
Pan welont fod y gwenyn wedi marw.

Gorlawenyched yr holl grach-awduron,
  Yr ieithwyr uniaith, a'r caeth-feirdd anhydyn,
Urddasol deulu y coeg-ddysgedigion,
  Priodol ddeiliaid a gwrthrychau 'r colyn—
Ond eto gwell a fyddai i'r pethau gwirion
  Ymloni 'n ddystaw, onide yn sydyn
O lwch chwaledig y wenynen fisol
Fe allai y cyfyd *crocodile* chwarterol.

A hwythau y gormeswyr uchelfrydig
  Mewn gwlad ac eglwys, pleidwyr pob hen ddull,
Serch pa mor ddrwg; rhagrithwyr melldigedig
  A fynant gadw eu rhyw mewn bythawl wyll.
O pe buasai 'r gwenyn fyw ychydig,
  Yr ydoedd yn eu bryd i dreio eu dryll
Ar eu penglogau tew, ond f' all mae 'r croco-
-dile fydd addasaf i eu dal a'u dryllio.

Ond pa fudd son am 'r hyn a fu mewn bwriad
  Ac ni chyflawnir? Dilys ofer yw,
Os na wneir goddef ar ein hymadawiad
  I ddweyd ein dyben pe buasem fyw.

Fe allai mai rhyw fath o ad-olygiad
  O'r hyn a wnaed fydd orau, a'i ddwyn i ryw
Grynodeb bychan; hunan adolygu
Fydd ryw beth newydd, ac ni pheri daeru.

Wel nid oes yma ond yn unig amnaid
  O'r dull a'r dyben ydoedd yn y golwg
A rhyw anghraifftiau bach, nid gwerth i'r giweid
  O gas elynion goleu wneuthur cilwg;
Os na wna dda, ni all wneyd fawr o niweid,
  A thybiwn yr ymddengys yn lled amlwg
Ini ymlynu at briodol amcan
Cyhoeddiad buddiol, yn ein heurgrawn bychan.

Nid gwrthwynebu nac attegu plaid
  A wnaethom ni, er mwyn na phlaid na pherson:
Ond eto ymladd yn ddiarbed raid
  Yn erbyn gau, o blaid gwir, *egwyddorion*,
Ac ymresymu yn gadarn a dibaid,
  Er ein cyhuddo ar gam o wag ymryson:
Os gormes, cyfeiliornad, twyll a llygredd
Gant lonydd, pwy a wyr beth fydd y diwedd?

Ni buom euog o oleuo yn union
  Fal y llusernau sydd ar led yn barod—
Traethiadau am iaith, ac am athrawiaeth gyson,
  Yn aml mor ddioleu a diddarfod;

A byw a marw-graffiadau anenwogion,
  A byr hanesion hynod o ddihynod:
Englynion, awdlau caethion, a chywyddau,
Lle ceir cynghanedd yn lle meddylddrychau;

Dadleuon gwag personol, gofyniadau
  Anatebadwy, dywediadau mân,
Ac felly ymlaen, pa'n'd dyma'r arlwyadau
  A roir yn fisol gan y wasg o flaen
Y Cymry; ond yn wir mae rhai eithriadau
  I'w cael yn awr er mawl i'r Iaith ar gân,
Ac fel y doir yn fwy anymddibynol,
Fe allai ceir yn hyn ddiwygiad hollol.

O chwi ychydig Gymry dewisolion,
  Rai sydd yn llawn o uchel ddylanwadau,
Y rhai a ddylech fod yn fawl a choron
  Eich hiaith a'ch gwlad, pe bae eich hymdrechiadau
Yn hafal eich galluoedd; deuwch weithion
  A phrofed Cymru o ffrwyth eich cyflawniadau,
Fel na bo mwyach siomi 'r anllythrenog
A gwegi gwael, a hwnw ond er mwyn cyflog.

A! nid i mi y rhoddwyd hyfryd seibiant
  I roi hyfforddiant, pe y byddwn addas:
Yn nheg winllanoedd dysg ni chaf y mwyniant
  O hoff lafurio; canys ydwyf gaethwas

I ofal bydol. Gwelaf lle y tyfant
  Bêr ffrwythau addysg,—ond i mi o'u cwmpas
Fe gauwyd cae, a mwy ni chaf ond cipio
Yr ychydig ffrwyth, a ddygwydd gwympo drosto.

Pan yr ymroddwyf i fy myfyrdodau
  Fel byddaf weithiau, pan y gwelaf adeg:
Fe dŷf yr ysgrif, neu chwanega 'r odlau
  Ar awen frwd yn barod i ehedeg;
A meddylddrychau bron yn sathru sodlau
  Eu gilydd,—fe ddaw rhywun ar ei redeg
Gan waeddi, Faint y pwys yw'r peth a'r peth?
Neu, Meistr, mae yma rywun eisiau 'r dreth.

Gan ddeisyf trethi a phethau gyda 'r gwynt,
  Rhaid i mi yna fyned i roi trofa
At y masnach-fwrdd, gostyngedig hynt,
  Gwenieithio a chrymu i bawb, yr hyn a ddofa
Yr awen fwyaf fywiog, ac a'i lladd y'nghynt
  Na dim.—O na bawn mewn athrofa!
Fe allai gwnawn yn berson, neu 'n gyfreithiwr
(Rhai gonest da fa'i cael) er *siapio* 'n wael yn *siopwr*.

Ni chefais I ond mesur bach o'r ddawn,
  O foreu godi—cywilydd dweyd; drachefn
Ar ol rhoi heibio 'ngofal y prydnawn,
  Fe ddaw cyfeillion tirion ar fy nghefn

Er mwyn ymddiddan; yn fy myw ni chawn
  Ddwyn yr ychydig hamdden gaf i drefn,
Heblaw fod gofal byd, fel pelen boeth o blwm,
Yn llethu 'r awen fwyn, ei difa a'i llosgi 'n llwm.

A dyma 'r achos pa'm yr wyf yn rho'i
  Mòr fuan o fy llaw, fy hoff ysgrifell;
A chydag aml ochenaid ddwys yn troi,
  I'r hên fasnachdy o fy anwyl lyfr-gell;
Ymroi i brynu a gwerthu a pharotoi
  Erbyn ryw hyll anghenion sydd o hirbell;
A gadael ereill mwy i weini i'r wasg,
Segurach ac addasach i'r fath dasg.

Ac felly hoff ddarllenydd, rwy'n ffarwelio,
  A thi ar hyn o dro, ac heblaw hyny;
Yn ol yr arfer, 'r ydwyf yn Cyflwyno
  Fy llyfr i'th nodded. Bydded i ti dynu
Y mel i gyd o hono, a throi heibio
  Y colyn llym, os nad wyt yn ei haeddu;—
A boddlon wyf i bawb a all, feirniadu,
Fel 'r adolygais, bydded f' adolygu.

# Annerchiad

## I DR. W. O. PUGHE, AR EI DDYCHWELIAD I GYMRU, 1828.

Croesaw yn ol ein Tad hygaraf,
  Croesaw adref glod ein gwlad;
Ein penadur dysgedicaf,
  Ein mawr noddwr medrus mad.

Croesaw i dy wlad rwymedig,
  Croesaw i'th gynhenid fro—
Croesaw i'r wyllt fro fynyddig
  A dy lonodd lawer tro.

Croesaw i blith dy garedigion,
  A'th gariadus wladwyr llon;
Dyma lais holl Gymru hylon,
  Ar yr adeg hyfryd hon.

Os bu dawel dy fynediad
  Allan o dy hoffwlad gynt,
Heb un rhuthr mawr o gariad
  I'th fendithio ar dy hynt.

Dy ddychweliad a goronir,
  A rhyw faith lawenydd mad;
Ac yr awrhon y datguddir,
  P'odd y'th gerir gan dy wlad.

Daw y beirdd a'u per ganiadau
  I'th groesawu yn dyrfa fawr,
Tra ar hyd eu claer wynebau,
  Llithra dagrau llon i'r llawr.

Ac a fyddaf finnau ddystaw
  Plith yr holl gariadus lu ?
Neu a wga yr eres athraw
  Ar fy isel ymgais gu ?

Mae fy nghalon fach yn llosgi,
  Mae fy mron yn fflam o dân,
Pwy, O! feirdd a allai dewi ?
  Dewch ysprydoedd cain y gân!

Ac fe ddaw y naw chwiorydd
  I fy nghynnorthwyo 'n ffreg;
Tra yn canu â'm bloesg leferydd,
  Foliant eu hanwyl-ddyn chweg.

Mae hen angel Cymru yn llonni,
  Yn ei niwl wrth wel'd ei wedd;—
Yspryd Gwalia sydd yn codi,
  Megys o ddyfnderau bedd.

Bu ein gwarcheidwadol angel
  Yn ymguddiaw draw yn hir;
Plith cilfachau 'r Wyddfa uchel,
  Yn galaru uwch y tir.

Wedi dwyn holl nerth a mawredd
  Ein hoff wlad, er's oesoedd maith,
Anfad alon droent o'r diwedd
  Yn eu llid i ddifa ein hiaith !

Hen anwyliaith ein hynafiaid,
  Iaith ein mebyd, iaith ein mam,
Yn dirywio o flaen ein llygaid,
  Ac heb neb i ddywedyd p'am ?

O! nid oedd yn awr yn aros
  O ogoniant Prydain gynt,
Ond yn unig ein hiaith wiw-dlos
  Fwyn i'n llonni ar ein hynt.

Ac fe fynai cas elynion
  Trwy oer frad ddiddymu hon,
A diwreiddio yr hen iaith wiw-lon,
  Yn llwyr oddiar y ddaear gron !

Ond nid felly—ein Ior nefol
  Chwardd ar eu hamcanion cas,
Ac fe bair i'r iaith ddewisol
  Bara tra y ddaear las.

Do, fe chwalwyd y cymylau,
  Na foed Cymru mwy yn brudd ;
Gwawriodd jubil ar ein bryniau,
  PUGHE a ddaeth—aeth oll yn ddydd !

Fe agorodd y trysordy,
   Fu 'n glöedig amser maith,
Ac a lonodd lygaid Cymru
   A thrysorau prid yr iaith.

Hwn yn ddiwyd iawn a gloddiodd
   I fŵn-gloddiau oesoedd gynt,
A gwiw dlysau prid fe gasglodd—
   Chwalwyd gyda'r pedwar gwynt.

Er ei fod mewn tir estronol,
   Nis anghofiodd ef ei wlad,
Ond a gafwyd yn wastadol
   Iddi yn gyfaill, iddi yn Dad.—

Pwy all brisio yr anrhegion
   Dderbyniasom ar ei law?
Am fath lïaws o fendithion
   Fe gaiff glod gan oesau ddaw.

Cymru syllodd yn hyfrydlon
   Ar bob anrheg fal y doent;—
A'i thrigolion ag un galon
   At yr awdwr mad a droent.

A pha ryfedd pan ddychwelodd
   Yma i drigo fel o'r blaen;
O! pa ryfedd os cynheuodd
   Yn mhob mynwes fflam o dan?

Wele gwawriodd hyfryd ddyddiau,
Ar ardaloedd Cymru yn awr;
Ac fe ddylai ein cyffiniau,
Seinio gan lawenydd mawr.

Daeth yr angel hen o'r diwedd,
O'i gîlfan gan lawenhau;
A dychwelodd i'r gwastadedd
Bythol mwyach i barâu.

Bron na thybiais i'm ei weled,
Yn prysuro ar y gwynt;
A'i osgorddlu yn cydfyned,
Llu o gawri yr oesoedd gynt.

Draw hwy safant uwch * Caledfryn,
Byddin ddedwydd dawel lon;
Llais y bardd a swn y delyn,
Godai yn fygdarth ger eu bron.

Mi dybygais fod rhyw hiraeth,
Yn eu bronau cudd yn awr,
Unwaith eto i ymyraeth
A theganau daear lawr.

Unwaith eto i ymdrechu,
Am y ddrudfawr eurdorch der;
Unwaith eto i gael tynu
Melus sain o'r delyn ber.

* Cyfeiriad at Eisteddfod Dinbych, 1828.

Yno cafwyd gwledd ddigonawl,
  Wedi newyn garw hir;
Gwledd o gariad, gwawr hyfrydawl,
  O well dyddiau ar y tir.

Tithau PUW fel tad y teulu,
  Yno yn gwenu wrth ben y bwrdd;
'Roedd pob calon yn adlamu,
  O sirioldeb wrth dy gwrdd.

Mawr oedd gweled brawd ein brenin! *
  Yn harddu ein heisteddfod wych;
Mysg ein bonedd teg a'r werin,
  Tra hyfrydawl oedd y drych.

Ond gorphwysodd llawer llygad,
  Hoffach ar dy wyneb llon;
Tra ymlosgai fflam o gariad,
  Dengmil cryfach yn y fron.

Daeth y dyddiau i ti orphwys,
  Oddiwrth dy lafur blin;
A pha le all fod mor gymhwys,
  A hen Gymru fwyn ei hun?

Yr hen filwr wedi treulio,
  Oes i ymladd dros ei wlad;
Nes o'r diwedd cwbl fethu
  Codi arf ar faes y gwaed.

* Dug Sussex.

A ddychwela gyda 'i friwiau,
  I orphwys yn ei gartref syw;
Ac i farw 'mhlith y drychau,
  Gwaedodd drostynt tra bu byw.

Felly tithau a ddychweli,
  Ar ol dy faith lafurwaith mad,
Ac yn dawel bellach treuli
  Weddill d'oes ar fron dy wlad.

Mae hen ddrychau yn dy wahodd,
  A'u hamrywiol leisiau mwyn;
Hen wrthddrychau a amgylchodd,
  Foreu d'oes â'u melys swyn.

Mae y meusydd llon yn gwenu,
  Mor hyfrydlawn ag erioed,
Mae yr adar bach yn canu,
  Eto yn fwyn o fewn ein coed.

Mae y bryniau bàn yn cribo,
  Uwch y niwl i'r wybren glir;
Mae y ffrydiau eto yn llifo,
  Gan lon drydar trwy y tir.

Mae y creigiau yn derchafu,
  Eu geirwon benau yn y gwynt;
Mae yma bob peth all gynhesu,
  Calon Cymro megys gynt.

Ac os bydd dy hen gyfeillion,
Wedi dysgyn idd y bedd;
Eto na thrymhâed dy galon,
Na foed galar ar dy wedd.

Wele cododd myrddiwn eraill,
Ië, hwythau yn eu hil;
Lle bu iti gynt un cyfaill,
Heddyw wele y mae mil.

Bydd y beirdd yn feib caruaidd,
It', a galwant dithau yn Dad,
A rhyw ail Elysium lwysaidd,
Baradwysaidd fydd ein gwlad.

Hedd a chariad a hyfrydedd,
Dan dy gronglwyd fo dy ran;
Parch a mawrfri ac anrhydedd,
A'th ddilynont ymhob man.

Ac o'r diwedd pan del angau,
Yr hwn ni arbed fawr na mad;
I roi terfyn ar dy ddyddiau,
Ar dy lafur dros dy wlad.

Cymru oll fydd yn galaru,
Wedi colli 'th siriol wedd;
Beirdd a fyddant yn cymmysgu,
Heilltion ddagrau uwch dy fedd.

Ond yn araf fy meddyliau,
  Araf dithau f'awen brudd;
Pam cynhyrfaf ffrwd fy nagrau,
  Cyn y du drallodus ddydd.

Pell, O! pell 'rwyf yn gobeithio,
  Ydyw dydd ein galar gŵyn;
Hir o ddyddiau, hedd fo eto,
  Iti lonni Cymru fŵyn.*

* Ganwyd y gwr enwog hwn mewn lle a elwir "Ty'n-y-bryn," yn mhlwyf Llanfihangel y Pennant, Swydd Feirionydd, Awst 7fed, 1759. Ymddengys iddo adael y Dywysogaeth pan yn lled ieuangc, a'i fod wedi treulio y rhan fwyaf o'i oes lafurus yn y brif ddinas; fel y dywed ei hun,—

"Ond rhedfa oedd i mi drwy flwyddau maith
O drugareddau Nef, mewn dinas ar
Y byd oedd ben; ac yno cawn fwynâu
Anwylyd ac anwylion cu dros bryd,
At lawenychu oes."

Yn y flwyddyn 1790, priododd Sarah Elizabeth Harper, o'r hon y bu iddo un mab, a dwy neu ychwaneg o ferched. Gellir gweled beth oedd ehangder ei ddiwydrwydd a thestynau ei fyrfyrdod, oddiwrth yr ysgrifeniadau a adawodd, o ba rai y mae y rhestr canlynol yn anghraifft.

1af, Ei Eiriadur godidog;—cynnwysa y gwaith gorchestol hwn fwy nâ chàn mîl o eiriau, a 12,000 o ddifyniadau eglurhaol o amrywiol awdwŷr. Dylid ystyried nad oedd yn ein hiaith un Geirlyfr y gellid dibynu arno o'r blaen; am hyny yr oedd yn rhaid iddo chwilio llawer i hen ysgrifeniadau a chyfansoddiadau y cyn-oesoedd ac olrhain yn fanwl wreiddiau y geiriau cyn y gallai eu penderfynu i sicrwydd. Dywedir iddo fod yn llafurio am ddeng mlynedd ar hugain cyn cwblhau y gorchwyl hwn. I wneuthur y rhodd yn berffaith, anrhegodd ei wlad â Grammadeg cywrain ar yr un pryd; yn yr hwn y dosbarthwyd i iawn drefn wasgaredig ac hyd yn hyn

(i radd mawr) anadnabyddus deithi yr iaith. 2il, *Archaiology* Cymru, sef hanesiaeth, barddoniaeth, &c , y Cymry yn eu gwahanol oesoedd. 3ydd, Gwaith Llywarch Hên, gydâ chyfieithiad Saesonig o hono, bywgraffiad y bardd, a sylwadau cynnwysfawr ar Farddas Prydain. 4ydd, *Cambrian Biography*, sef, buchdraethiadau amryw o hynafiaid enwogion Cymru. 5ed, Coll Gwynfa; cyfieithiad o bryddest Milton, *Paradise Lost*. Mynega iddo gymmeryd y gorchwyl hwn mewn llaw i "ysgafnhau gorthrymder meddyliau blinion," a achlysurid drwy farwolaeth Mrs. Owain, yr hyn a gymmerodd le yn y flwyddyn 1816. 6ed, Gadawodd mewn ysgrif yn barod i'r wasg, waith tra gwerthfawr y buwyd yn hir ddisgwyl a dymuno am dano, sef, y Mabinogion.

Heblaw yr hyn a nodwyd, arolygodd y Dr. Pughe gyhoeddiad newydd a chywir o waith yr enwog fardd Dafydd ap Gwilym; adargraffiad o'r llyfr a elwir "Dyhewyd y Cristion;" cylchgrawn Cymreig a elwid "y Greal;" y "*Cambrian Register*," &c., &c., ac ysgrifenodd lawer iawn mewn amrywiol Gyhoeddiadau Saesonig, fel nas gellir byth wybod beth oedd ehangder ei lafur. Bu yn offerynol tu hwnt i neb o'i gyd wladwyr i fytholi yr Iaith Gymraeg, ac i'w derchafu i fri y'ngolwg cenhedloedd cymmydogaethol.

Nis gellid ystyried fod y Dr. Pughe yn feddiannol ar y darfelydd *(imagination)* bywiocaf na chywiraf, am hyn ni ddisgleiriodd erioed fel bardd; ond yr oedd yn berchen meddwl cryf a syniadau eglur am bethau; trwy yr hyn y'nghŷd â'i ddiwydrwydd diflino y cyrhaeddodd i fanylrwydd gwybodaeth a chyffredinolrwydd enwogrwydd tra anrhydeddus. Yr oedd yn wr o dymher hynaws, tirion a gostyngedig; a phan ddychwelodd i Gymru yn llawn dyddiau ac anrhydedd, ei olwg hybarch a'i ymddygiad diymffrost, a dreisient serchiadau pawb a'i gwelent. Treuliodd y deng mlynedd olaf o'i oes yn Nghymru, gan mwyaf gerllaw Dinbych. Bu farw yn ddisymmwth a ry 4ydd o Fehefin, 1835, yn y lle a elwir Dolydd-cau, yn mhlwyf Tal-y llyn, sir Feirionydd.

Perchir ef yn fawr gan yr oes bresennol; ond dilys y bydd ei goffadwriaeth yn fwy ardderchog i oesau dyfodawl; ac megys y diflana rhagfarnau yn nhreigliad amser, efe a chwanega ogoniant y'mhlith cenedl y Cymry tra

"EU HIAITH A GADWANT."

# Penillion

## AR YMADAWIAD CYFAILL.

Ffarwel ein cyfaill cu, os yw
Rhagluniaeth, er rhoi 'n bronau 'n friw,
Yn dy ddwyn o'n plith;
Ffarwel ein brawd, ond eto bydd
Dy gofiant hoff, ar lawer dydd
Yn lloni ein calonau prudd,
Mewn blinfyd chwith.

Myfyrio wnawn ar lawer awr,
Dreuliasom mewn dedwyddwch mawr,
Mewn dyddiau gwell;
Ail gofiwn lawer melus wledd,
O fwyn gyfeillach bur a hedd,
A lonwyd gan dy siriol wedd,
Sy'n awr mor bell.

A phan na bydd dy lais di mwy
Yn canu 'n siriol gyda hwy,
Lle seiniodd gynt;
A phan yn wag y bydd dy le,
Neu arall yn ei lenwi 'fe,
Ein heirchiau drosot ddringant Ne',
Ar aden gwynt.

Un peth ddeisyfwn genyt ti,
Pan byddi 'mhell mewn parch a bri,
'Mhlith ffrindiau 'th gol,
Ymhlith cysuron ty dy fam,
Plith hen gyfeillion pur dinam,
Boed i ti weithiau feddwl am
Y rhai sy 'n ol.

## Englyn ar Englyn.

(O'R SAESONEG.)

*(Epigram on an Epigram.)*

Dymunol y'nghol englyn—y'w nyddu
Rhinweddau y gwenyn;
Corph bach melys-iach mal hyn,
A celu 'n y gynffon—colyn.

# Er Coffadwriaeth

## AM MRS. E. P. JONES, O RHYL.

Er côf! ac nid oes i ni mwy
Ond ei chofio!
Un anwyl eto, er ein clwy'
Wedi ymado!
Trwm, trwm, yw cofio ei thawel wedd
A welsom gynt yn arlun hedd,
Yn awr yn oer yn ngwaelod bedd,
Yn malurio!

Ond "megys doe" y gwelsom hi
Gyda 'i phriod;
Pâr ieuanc, dedwydd, mawr eu bri,
Olwg hynod!
Rhagluniaeth wenai ar y ddau,
Cyfeillion oeddynt yn amlhau,
Dysgwylid gwynfyd i barhau,
Darfu 'n barod!

Gwelwyd ei haul yn glir a theg
Yn cyfodi;
Gobaith hindda maith difreg
Roddai iddi;

Gwelwyd ar ei haelwyd clyd
Arlwy holl gysuron byd,
A'i phlant bach yn deg eu pryd
Wenent arni.

Ond Ow! mi wela 'r awyr las
Yn tywyllu!
A chymylau duon cas
Yn ymgasglu:
Torodd cystudd ar ei thaith,
Ac er ymdrech—ymdrech faith,
Angeu cryf rodd i ni waith
I alaru!

Angeu! mor annhrefnus yw,
Pan yn bwrw
Un *mor gymhwys* oedd i *fyw*,
I blith y meirw!
Mam mor dyner, gwraig mor gu,
Llaw mor dda i drefnu ei thŷ,
Heddyw yn y beddrod du,
O! mae 'n chwerw!

Wele friw a garw loes
I gu briod!
Claddu gwraig yn *more* 'i hoes
Yn y beddrod!

Magu plant na wyddant am
Ac na chofiant wedd eu mam
O! angeu oer—pa ham, pa ham?
Fath drom ddyrnod!

Eto, ofer i ni mwy
Blethu dwylaw;
A meithrin dan y fron y clwy'
A dwys wylo;
Ofer aros wrth y bedd
Ni cheir gwel'd ei hanwyl wedd,
Gorphwys hi mewn tawel hedd
Dim i'w blino.

Dychwelyd raid at helynt byd
Sy'n myn'd heibio;
Er ini 'n hir mewn tristwch mud
Bruddaidd rodio;
Ond yn nyfnder calon brudd
Ei chof yn beraidd iawn a fydd,
Heb ballu hyd nes del y dydd
Cawn ninnau huno.

# Efelychiadau.

## "GOD SAVE THE KING."

Diffyna di, O, Dduw
Gwilym ein henwog lyw,
A'n hanwyl ri.
Rheoled ef mewn hedd,
Hir hoedlog ar ei sedd,
A dedwydd hyd y bedd,
Yn fawr ei fri.

Cyfod, a chawl, O Ior!
Elynion cas ein por,
Ar for a thir.
Dyrysa, yn dy wg,
Eu holl gynllwynion drwg,
Ac i gywilydd dwg,
Hwy oll cyn hir.

Brydain, derchafa'n awr,
Foliant dy frenin mawr,
Ag uchel lef.
Nid oes, ni bydd, ni bu,
Ragor ein Gwilym ni,
Yn llywio uwch y llu,
Duw nodda ef.

## "I'VE BEEN ROAMING."

Bu'm yn crwydro, bu'm yn crwydro,
'Mhlith y boreu wlithoedd glan;
Ac rwy'n dyfod, ac rwy'n dyfod,
Troed-laith gan y perlau man.

Bu'm yn crwydro, bu'm yn crwydro
'Mhlith y rhos ar lili wen;
Ac rwy'n dyfod, ac rwy'n dyfod,
Gyda'u blodau ar fy mhen.

Bu'm yn crwydro, bu'm yn crwydro,
Lle dring y melawg yn yr hin;
Ac rwy'n dyfod, ac rwy'n dyfod,
A'i gusanau ar fy min.

Bu'm yn crwydro, bu'm yn crwydro,
Dros y fron a thros y ddol;
Ac rwy'n dyfod, ac rwy'n dyfod,
I fy mwthyn bach yn ol.

## (Cyfieithiadau.)

### CYFFES YR ANFFYDDIWR ARGYHOEDDEDIG,

(GAN W. HONE.)

Y GALON falchaf fu erioed
Orchfygwyd ynof fi,
Cyndynaf 'wyllys gynt a fu
'N cyderlid 'd achos gyda'r llu;
Dduw! drechwyd genyt ti.

D' ewyllys wneler, nid hon mwy
Fy nghalon it' a roes,
Gan dy gydnabod, y gair byw,
Fy ngheidwad Crist, fy Ior, fy Nuw,
Fy maner fydd dy groes.

---

### UNDEB A CHYDWEITHREDIAD.

Beth pe dywedai 'r defnyn gwlaw,
Diferyn bach fel fi;
Ni all adfywio 'r maesydd draw,
Am hyn arhosaf fry.

Beth pe pelydryn disglaer nawn,
Arhosai byth y'nghudd,
Am n' allai ei oleuni gwan,
Yn unig beri dydd.

Rhaid cael pob defnyn bach yn rhan,
O'r gawod fywiol fwyn;
A phob pelydryn er mor wan,
I wisgo a lloni 'r llwyn.

---

## Pennillion
### AR BRIODAS CYFAILL.*

WEL! heddyw clywais newydd da,
Diwadu, da iawn ydyw;
Fod Lewis anwyl wedi ei ddwyn,
Yn hyfwyn gaeth gan fenyw.

Er iddo aros braidd yn hir
Cyn dod i dir y gwynfyd,
O'r diwedd daeth fel pob dyn call,
Heb ball a dynes hefyd.

Bendithion ar y fenyw lon
A wnaeth i'w fron ef gyffro
Ac a'i harweiniodd i'r byd gwyn,
Ar gadwen dyn am dano.

* Mr. Enoch Lewis, Mostyn Quay.

Bendithion fyrdd ar benau 'r ddau,
  Fo yn parhau 'n ddiddarfod,
Bendithion fil o'r nefoedd fry
  Yn gu, ar ddaear isod.

Awelon llwyddiant ar eu hynt
  Fel gynt a lanwo 'u hwyliau,
Rhagluniaeth weno 'n llon a theg,
  Heb frêg ar hyd eu dyddiau.

Na ddeued 'stormydd blinion bŷd
  O hyd i'w dedwydd annedd,
Ond tawel ddedwydd aent ynghyd
  Diadfyd hyd y diwedd.

A phan ar derfyn pell yr oes
  Digroes, y daw ymado,
O wynfa daear aed y ddau
  I wynfa nef i drigo.

# Llinellau

## A YSGRIFENWYD AR DDARLLENIAD Y NEWYDD FOD Y GWEFRHYSBYSYDD TANFORAWL WEDI EI OSOD I LAWR RHWNG YR IWERDDON AG AMERICA.

Arch ddyfais dyn! ac y mae yn wir
Fod cadwen fawr o dir i dir,
O Ewrop i'r Amerig draw,
Yn cydio 'r gwledydd law yn llaw,
A chlust wrth glust o dan y don,
Arch ddyfais yr oes ryfedd hon!

Gwnaeth Duw i'r trydan "lwybr" fry
I wibio mewn gwylltineb hy;
Dyn a'i cymerodd yn ei law,
Ac a'i harweiniodd yma a thraw,
Ar wyneb tir, ar waelod mor,
Fe'i cyfarwydda fel ei Ior.

Anialwch mawr y mor ei hun
Yn gynniweirfa i feddwl dyn!
Lle na bu ond morfilod mawr
Yn chwareu er cread daear lawr,
Ymlwybra cenad dyn ar hynt,
Cyflymach fil nag aden gwynt!

Pa beth yw pellder? Beth yn awr
Yw amser chwaith i feddwl mawr
Di-ildio dyn? Pa beth yw mor?
O flaen didrai dihysbydd stôr
Ei ddyfeisiadau cywrain ef
Ymgryma pob peth is y nef!

Mi wela yn awr gerllaw, y dydd
Ar wawrio arnom pan y bydd
Y gadwen wefr o gylch y byd
Yn rhwymo meddwl pawb ynghŷd,
A'n planed fawr yn eigion Duw
Yn hofran fel creadur byw.

O'r meddwl cryno mawr cytun,
Fe ddaw bendithion fyrdd i ddyn;
Sancteiddier yr ymundeb mawr
Trwy holl amgylchoedd daear lawr,
A doed y byd o bawl i bawl
Yn drydan byw o fywiol fawl!

# Er Cof

## AM MR. ANGELL JONES,

### WYDDGRUG,

YR HWN A FU FARW HYDREF 22AIN, 1859;

Wedi bod yn Broffeswr cyson 61 mlynedd, ac yn Flaenor cymeradwy oddeutu 40 mlynedd.

Bu farw ANGEL! newydd trwm!
 Ein blaenor a'n hen *ffrynd;*
Ar ol ein tadau, a'i frodyr ef,
 Mae yntau wedi myn'd!

Bu farw ANGEL! hedodd fry,
 Ennillodd ef y gamp:
A dyma eto un yn fyr
 O'r brodyr o'r hen *stamp.*

"Nid yw'r prophwydi yn byw byth,
 Ein tadau p'le maent hwy?"
Diflanna 'r naill ar ol y llall,
 Cawn ninau glwy ar glwy!

'Does i ni mwy am ANGEL JONES
 Ond serchus barch a chof!
Wel, tyred f'awen, uwch ei fedd
 Am enyd mi ymdrôf!

Nid i alaru cymaint chwaith
  Mewn iaith wylofus dlawd;
Galaru! pam?—'roedd angeu 'n wir
  Yn ennill pur i'n brawd.

Galaru wnawn uwch bèn y dyn
  Ga'dd driugain mlwydd i fyw,
A mwy, a marw yn adyn dŵl
  Heb feddwl am ei Dduw.

Galaru wnawn am ofer oes
  Segurddyn gwamal, ffol,
Ddiflanna heb golled yn y byd
  Na gwagle ar ei ol.

Neu os machluda 'r ysbryd dan
  Ddu gwmwl ganol dydd,
Y galon drom gan ing a ball
  Nis gall ond bod yn brudd.

Ond gwel'd yr hen bererin da
  Yn cyrhaedd pen ei daith,
A meddwl am y nef fwynhâ
  Yn gorphwys wedi ei waith;

'Nol tynu ei gwys yn deg i'r pen
  Am bedair ugain mlwydd,
A gweithio ei ddeugain mlynedd llawn,
  Yn uniawn yn ei swydd,

Ei wel'd yn huno, a myn'd yn nes
  I fynwes Iesu Grist,
I aros byth heb boen na chroes,
  Pa achos bod yn drist?

Cael rhoi y palmwydd yn ei law,
  A'r goron ar ei ben!
Nid wylo yn wir, ond d'weyd a wnawn,
  Da iawn! da iawn! Amen!

Ac eto bydd rhyw aethau 'n d'od,
  Rhyw deimlad chwerw chwith,
A hiraeth am ein blaenor hoff
  Yn aros yn ein plith;

Rhyw chwithdod am ei wedd a'i lais
  Ac am ei eiriau ffraeth,
Ar lawer tro daw'r adgof cu
  I'r fynwes megys saeth:

Chwith am ei weddi a'i oslef ddwys,
  Chwith am ei gnyciog ddawn;
Chwith am ei lòn chwerthiniad ef,
  A'i ddagrau parod iawn.

Efe a welsom ni erioed
  Yn nghornel y "*seat* fawr;"
'Roedd ANGEL i ni fel y coed
  Yn rhan o'r "capel mawr."

Fe deimlai yr holl dyrfa fawr
  Uwch ben ei olaf gell,—
Wel! claddwyd llawer iawn o'i waeth,
  Nid llawer un o'i well.

Beth er nad oedd e'n fawr ei ddawn
  Nac uchel ddysg, pa waeth?
O ran teilyngdod, dyma 'r gair,
  "A allodd hwn fe'i gwnaeth."

Yn nghoron deg y cristion pur,
  Plith ei holl berlau drud,
Ffyddlondeb—O! Ffyddlondeb yw
  Y perl dysgleiria 'i gyd.

Ystyriai ANGEL gadw drws
  Yn nhlws gynteddau Duw,
Yn uwch anrhydedd na mwynhau
  Palasau dynolryw.

Pan yn cyhoeddi moddion gras,
  Yn hyf o bryd i bryd,
Gwnai ANGEL hyny gyda blas,
  A thaerni a zel ynghyd.

Pan yn derchafu 'r napcyn gwyn,
  A threfnu 'r wledd i'r saint,
Gwnai ef ryw orchwyl bach fel hyn
  Fel un yn teimlo ei fraint.

Pwy egyr y cymundeb cu
  Pan ddelo 'r teulu ynghyd?
'Roedd Angel beunydd yn yr hwyl,
  Pe byddai pawb yn fud.

Pan ddel pregethwr mwy i'r dref,
  Pwy ddengys iddo barch?
Pwy a gyfeiria 'r gwr i'w le?
  Pwy wylia am ei farch?

Pan yr oedd Angel yn y byd,
  A'i anwyl briod Ann,
Yr oeddynt hwy yn effro o hyd,
  A'u llygaid ymhob man.

Fe rodd y ddau ar hyd eu hoes
  Eu hysgwydd dan y baich,
Heb derfyn ar ewyllys da
  Ond grym a hyd eu braich.

Pwy gerddodd gymaint ar ei draed
  O gwrdd i gwrdd ag ef,
Heb dâl na gwobr o un man
  Ond a ddisgynai o'r nef?

Paham y rhaid manylu mwy?
  Nid da yw bod yn faith;
Adwaenid ef fel gweithiwr llon,
  A'i galon yn y gwaith.

'Roedd ANGEL hefyd, iawn yw son,
   Yn bur i'r bon i'w blaid;
Tra yn yr anial glynu 'n glòs,
   Bawb wrth ei lwyth sydd raid.

Os yw hen ffryndiau yn y nef
   Yn cymdeithasu 'n gu,
Gan ganu a soniarus lef
   Wrth gofio 'r hyn a fu;

Lle bynag mae Trefnyddion pur
   Yn ymwersyllu fry,
Mae ANGEL JONES y fynyd hon
   Yn llon yn nghŵr y llu.

Un cadarn yn ei ffydd oedd o,
   Hen Galvin at y gwraidd;
Yn wir fe gloddiai ambell dro
   Yn is na hyny braidd.

Beth os nad allai dreiddio 'n ddwfn,
   Na gwel'd mor hynod bell?
Fe wnaeth ei deimlad cynhes ef
   Aml un i *deimlo* yn well.

Os byddai 'r bregeth braidd yn oer,
   Dim llewyrch tua 'r nen,
Fe dynai ANGEL dipyn bach
   I lawr â'i fawr Amen.

Os na bu e'n oleuni mawr,
  Mi haeraf er ei glod,
Fe dreuliodd ei flynyddau maith
  Heb lygru neb erioed.

Fe ga'dd ei wobr yn ddiau,
  Fel pawb at Dduw a drôdd;
Os a y pum talentau 'n ddeg
  Fe ddybla 'r ddwy 'r un modd.

Myn Iesu gael ei deulu i gyd
  Ynghyd i'w gynhes gol;
Bydd gwendid yn y nefol dant
  Tra un o'r plant ar ol.

Yr Angel James, o Firmingham,
  Er cymaint oedd ei fri;
Ni byddai berffaith yn y Nef
  Heb gwmni 'n Hangel ni.

Ffarwel hen gyfaill! boed i'th lwch
  Lonyddwch yn y bedd,
Nes gwawrio 'r dydd i'w uno 'n ol
  A'r enaid pur mewn hedd!

Yn dawel, dawel, gorphwys mwy,
  Nes deffry trefn y rhod:
Daw eto i'r cyfiawn drannoeth teg;
  Mae codi o'r bedd yn bod.

Ar alwad yr Archangel mawr,
A'i floedd ar foreu brawd,
Yn Angel byw fe gwyd o'r bedd,
Ar wedd ei hynaf Frawd.

* * * *

Wel, doed ei feibion ar ei ol
I gyd i lenwi ei le,
A doed ei wyrion yn eu tro
I rodio fel efe.

A boed i Ben yr eglwys roi
Blaenoriaid cymhwys lu,
A deuparth o'r un yspryd oedd
Yn llenwi y rhai a fu.

Aed Sïon deg ar gynnydd byth,
Dysgleiried fwy a mwy,
Nes delo 'r byd o ben i ben
Dan rin Ei farwol glwy.

# Ar Farwolaeth

PLENTYN CYNTAFANEDIG, YR HWN A FU FARW YN MHEN YCHYDIG DDYDDIAU WEDI EI ENEDIGAETH.

Ganwyd i'r byd—llawenydd fu;—
Bu farw—dyna alar!
Rhyw hanes byr, ond cymysg yw,
Fel holl hanesion daear.

*Daeth yma* megis i dŷnhau
Y rhwymyn priodasol;
*Fe aeth*, i ddangos pa mor frau—
Mae hwythau ill dau yn farwol.

*Fe ddaeth*, i greu a lloni tad
Ac yna ei amddifadu!
Fe ddaeth i greu teimladau mam,
Paham? un bach—a'i siomi!

O! d'wêd, un bychan, pa'm y bu
Mor fèr dy daith i'r ddaear,
Ai onid oedd cyfeiilion cu
Yn d' amgylchynu yn gynar?

Paham y bu i ti ond troi
I mewn, a ffoi i fynu?
A ddarfu gwae a phoen y byd,
I wynfyd dy ddychrynu?

Ai canfod daear yn anmhur?
  A'i hawyr yn llygredig?
Ac ai cythruddo wrth bechod byd
  Wnai d' ysbryd sancteiddiedig?

O! ddedwydd! purwyd d' enaid di
  Cyn tori ei bechod allan!
Cei ganu am rinwedd gwaed y groes
  Am oes ddidrai yrŵan.

Heb achos yna i foli Duw
  Am *fyw* yn llaw *rhagluniaeth*,
Dy nerth yn gyfan roddi di,
  I ganu am *iachawdwriaeth*.

Bydd saint yn sôn am droion byd
  Gan gantu wrth adgofio,
Cei dithau dd'weyd, a dyna 'r oll,
  'Amen—*bum inau yno*.'

Os dirgel cynghor Duw, mae 'n ddoeth—
  Na wylwch chwi rïeni:
Aeth heibio i bechod câs a'i boen,
  A gwlad ddihoen trueni.

Hyderwn fod y bychan bach,
  Yn awr yn iach yn canu,
Yn mhell uwchlaw gofidiau 'r byd
  Yn glŷd yn mynwes Iesu.

Er na wnaeth eich blodeuyn bach
  Ar ddaear lawr addfedu,
Ei harddwch wna yn awyr iach
  Y nef, fyth, fyth ymledu.

## Blodau.

"Ystyriwch lili y maes, &c."—MATT. vi. 28, 29.

PWY sydd na char y blodau llon?
  'Does niwed yn ei hoffi;
Can's wele yr oedd yr Iesu cun,
  Ei hun yn hoff o'r lili.

Brenines Sheba ddaeth o bell,
  I wel'd breninol urddas,
Tra ceid gogoniant mwy a gwell,
  Yn britho ei bro o gwmpas.

Prydferthwch tlws y lili deg,
  Ragora ar wisg penadur;
Fel y gwna llaw y Crewr doeth,
  Ar law llai coeth creadur.

Teg flodau'r haf!—yr haner cnaf,
  Na charo blant a blodau;
Yr hurtyn dwl masnachaidd—ffei,
  Nis galla'i garu yntau.

Ar ol y gauaf oeraidd du,
  Mor gynes yn y gwanwyn,
Y'w gwel'd y blodau 'n dod yn ol,
  Gan hulio dol a dyffryn.

Briallu teg—llygaid y dydd,
  A meillion blŷdd yn ddibrin,
A blodau gwynion ar y drain,
  Melynion ar yr eithin;

Mieri a drain, heb lafur, rydd
  Y tir er dydd y felldith;
Ond eto ar y pigog ddrain,
  Ceir blodau cain yn dryfrith.

Y melawg pêr, y rhosyn gwyllt;
  Man flodau 'n fil o lwythau,
Adwaenir wrth eu siriol bryd,
  Ond "nid yn ol eu henwau."

Os awn i rodio yn yr ardd,
  Mor hardd mae hi'n ymwisgo,
O blith ei deiliawg flodau tardd
  Rhyw arogl per wrth basio.

Y rhosyn coch a'r rhosyn gwyn,
  Botymau ceinion amledd,
Y mint, y lavant, a'r hen wr,
  Yn siwr, mae yntau 'n beraidd.

Y pŷs a'r ffâ yn nechreu haf,
  A'r ffrwythlon bren afalau,
A ro'nt o flaen y llygaid wledd,
  Cyn rhoddi gwledd i'r genau.

Ymwthia 'r blodau yn mhob man,
  Mewn gardd a maes a mynydd;
O'u gwenau daw rhyw wynfyd mwyn,
  Pur od, sy'n swyno prydydd.

Anghofia 'r ddaear ambell dro
  I wisgo ei gwenwisg gauaf;
Ond byth nis gollwng hi tros go'
  Ei mantell haf, mi wrantaf.

Daear heb flodau, fyddai 'n wir
  Yn dir oer di-farddoniaeth,
Fel tŷ heb blant,—fel nos heb ser,
  Anfwyn, diswyn, ysywaith.

Cydweuir coch a glâs a gwyn,
  A melyn ar y moelydd,
Carped diail y *tlawd* trwy'r haf,
  Ymleda tros y gwledydd.

Pob oed ac oes o ddynion da,
  Mi goelia fel eu gilydd,
Wrth wel'd y blodau yn yr haf,
  A lenwir o lawenydd.

Y plentyn teir-blwydd yn fy llaw
  Wrth basio a gasgl bwysi,
Ac fel pe cawsai ysglyfaith drud,
  Fe'i d'yd yn nwylaw "dadi."

Bu'm inau 'n blentyn bach heb groes
  Na loes yn hel y blodau;
Felly yn fachgen bu fy nhaid,
  Mi wn, a'i hendaid yntau.

Bu Noah a'i wraig er's llawer dydd
  Yn casglu blodau amryliw,
Wrth rodio gardd a maes ynghŷd,
  Cyn dal y byd a'r diluw.

Adda ac Efa yn Eden fu,
  Heb os yn hel pwysiau;
Os rho'wd hwy yno i gadw'r ardd,
  Pa beth yw gardd heb flodau?

Pan yr ymdrechai 'r Groegiaid gynt
  Mewn gwrol ymdrechiadau,
Coronid yr ennillwr llon
  A choron hardd o flodau.

Garlantau o flodau 'n addas sydd
  Ar hyfryd ddydd priodas;
A hulio blodau ar y bedd,
  Yw diwedd pob cymwynas.

Yr hen a'r ieuangc ydynt fel
  Yn dawel yn mhlith blodau;
Mae 'r iach yn llon, a'r claf yn wir
  Ddiddenir mewn cystuddiau.

Y gweithiwr gyda'i gaib a'i raw,
  A rodia at ei lafur,
Y blodau gwlithog teg gerllaw,
  Weinyddant iddo gysur.

Pwy wyr nad yw'r anifail mud,
  Byth hefyd yn ymloni,
Gan garu gwel'd y blodau llon
  Yn burion lle bo'n pori.

Fe ga'r wenynen ddiwyd fâch,
  Fywioliaeth iach a diliau;
A'r gloyn-byw yn fynych geir
  Yn cellwair gyda'r blodau.

Pwy wyr nad yw'r aderyn bach,
  A'i fron yn iach ymchwyddo,
Wrth wel'd y blodau, a theimlo eu pêr
  Anadliad tyner drosto.

Disgleiria 'r blodau teg ar g'oedd
  Mewn lleoedd anghyfannedd,
Gan lwyr wastraffu eu harddwch cun,
  Medd rhyw un, mewn unigedd.

Nid felly—yn yr anial mae
  Cariadau nid ychydig,
I'r blodau—bodau fwy na mwy,
  Gweladwy ac anweledig.

Fe allai fod "tylwythau teg,"
  Angylion glân goleuni,
Yn tynu o'r blodyn newydd dant,
  Pan byddant yma 'n gweini.

Ni wnaeth y Brenin mawr, diau
  Y blodau yn ddianghenrhaid,
Fe'u trefnodd hwythau er mwynhad
  A gwir leshad ei ddeiliaid.

*  *  *  *

Da genyf wel'd y bwthyn bach
  Ar lechwedd iach yn Nghymru,
A gardd fach glŷd o flaen y drws,
  A gwrŷch glas tlws o'i deutu.

Gwelyau taclus ynddi fydd,
  Er budd yn llawn o lysiau;
A llwybrau glân a blodau mân,
  Aml-liwiawg ar ymylau.

Ac ar y claerwyn bared mae
  Rhosynau a blodau 'n dringo,

Nes gafael yn yr eiddew pan
  Yn hongian tros y bondo.

Pan welir oddiallan fod
  Gardd, blodau, a phob ymgeledd,
Tybygwyf, oddimewn i'r mur
  Fod cysur pur, a rhinwedd.

* * * *

Wel! er na bu i'r truan fardd
  Fawr lewyrch ar ei lwybrau,
Fe garai farw pan yn hardd
  Bo'r ddaear dan ei blodau!

# I'r Rhew.

"A'i wynt y rhydd Duw rew; a llêd y dyfroedd a gyfyngir."

"Pa un bynag ai yn gosbedigaeth, ai i'r ddaear, ai er daioni, Efe a bâr iddo ddyfod."—Job xxxvii. 10, 13.

Meistir Rhew â i roi tro
A thalu ymweliad â'r holl fro;
Yn dawel iawn â ar ei hynt,
Ni chwyth ei udgorn fel y gwynt;
Ni chura yn enbyd fel y gwlaw,
Gan dyrfu a baeddu ar bob llaw;
Ni fflachia ychwaith, gan godi llef
Fel mellt a tharanau mawr y nef;
Fel dystaw gawr â ar ei daith,
Nis gwelir ac nis clywir chwaith;
Ond *teimlir* fod aruthrol rym
Yn perthyn i'w weithrediad llym.
Yn fynych iawn dan fantell nos
Fe dery ei law ar bwll a ffos;
Yn gramen selia i fyny 'r llyn,
Tra gwelwa 'r tir gan farug gwyn.

Rhaid i'r afon redeg ei "goreu glas,"
Neu fe'i delir yn rhwym gan y rhynllyd ias;
Rhaid i'r môr ei hun fyth yng [illegible]lwr,
Neu fe'i cloir e' i fyny yn ddigon siwr.

Mae y dwfr yn hongian yn rhew yn awr,
Fel wedi ei ddal gan y gallu mawr—
Wrth fondo 'r tŷ, ac ar frigau 'r llwyn,
Fel tlysau grisialaidd gan fenyw fwyn:
Dringa y rhew i ffenestri 'r tŷ,
Ysbia i mewn yn hagr a hŷ';
Ac ar y gwydr gadawa o'i ol
Bob math o luniau a ffurfiau ffol,
Fel pe mynai 'n-ddideimlad wneuthur gwawd,
Neu herian ar annedd creadur tlawd.

Bydd llawer yn awr fel Pedr gynt
Yn rhodio ar y dwr, a'u penau yn y gwynt;
A chaiff ambell i Gymro godwm sydyn
A chas, ar y "llithrig balmant llathrwyn."
Pan gwyd dyn o'i wely y boreu ar frys,
Ar lawr y llofft fe gryna 'n ei grys;
Cael y dwr i ymolchi fel darn o blwm,
Mor oer, mor galed, a bron mor drwm;
Ni choelia I y bydd o fawr o dro
Yn gwisgo am dano, ac i lawr a fo;
Y rhew wrth ei gwtyn,—oer arw ffrynd,
'Does o fath Meistir Rhew am wneyd i ddyn fyn'd!

I lawr bydd y wraig a'i hysbryd o'i le,
Mewn cyfyng-gynghor uwch y llestri Tê,
Y Rhew wedi cloi yr holl ddwr i fyny,
Y gwr yn anniddig, a'r plant yn rhynu;

Ag egni drwg natur hi chwŷth y tân,
I ferwi y cloiau yn ager mân.
Pan aiff hi i'r cwpbwrdd, fe gaiff yno fod
Y Rhew wedi gadael ol ei droed;
Cafodd yno, mewn potel, ychydig ddwfr glan,
Ac fe ddrylliodd y llestr yn chwilfriw man!

Nid oes unlle uwch daear na threiddia y Rhew,
Mae yn llithrig fel neidr, ac yn gryf fel llew;
Rhaid hulio 'r pytatws, a'u cadw yn sych,
A rhoi gwellt ar yr erfyn er mwyn yr ŷch;
Neu fe lithra 'r Rhew i mewn wrtho ei hun
Ac fe gipia damaid o bob un.

Os deil y rhew yn hir fel hyn,
Ond odid mawr, daw 'r Eira gwyn,
Wrth weled lle i roi 'i droed i lawr,
I daenu ei wen gynfas fawr;
A phan dêl Rhew ac Eira ynghyd,
Och fi! bydd helynt flin ar fyd,
Ar wartheg, defaid, adar man,
A thlodion dai heb fawr o dan.

Beth wnawn ni o rhyw drefn fel hyn?
Mae 'r oruchwyliaeth yn bur syn;
Mae Meistir Rhew yn dweyd yn wir
Mae 'i amcan ef yw puro 'r tir;

Gwna peth caledi fwy o les
Na hindda o hyd, a *gormod* gwres;
Rhywioga 'r tir, daw 'n haws ei drin
O'i drwytho yn y rhew a'r hin.

Mae 'r ddaear fel ei phlant ei hun,
Mae ambell wasgfa 'n dda i ddyn;
Gwir elw a budd ei gystudd ddwg,
Marweiddia 'i chwyn a'i nwydau drwg;
A gwna ei galon yn well maes
I darddu gan deg ffrwythau gras.
Os felly mae, ni chwynaf mwy,
Botyma 'nghôt, a rhwyfaf drwy
Y gauaf oer, a'r cethin iâ,
A dywedaf fod POB PETH YN DDA.

# I'r Gog.

Ust! dyna 'r Gôg! Daw 'n haf cyn hir
Wel! croesaw i'r hen Gwcw;
Ond carwn wybod yn mha dir,
Trwy 'r gauaf y bydd hi 'n cadw.

Ai mudo wna i wlad yr ha'
O gyrhaedd oer galedi?
Neu yntau a'i cysgu tra peri 'r ia,
Dan glydwch o ir *flancedi?*

Mae Robin Goch a'r Fwyalchen dlos
Yn aros yma 'n ddiddig;
Trwy 'r gauaf oer, er fod y ddau
A'u telynau ar yr helyg.

Bydd Robin yn hopian at ddrws y tŷ
Gan rynu ar y rhiniog,
Ysbia i mewn yn bert a hŷ',
Yr un fath a hen gymydog.

Yr Aderyn Dû fydd yn yr ardd,
Yn gwilied yn nyfnder gaua',
Tra y wlad i gŷd dan gwrlid hardd,
Grisialaidd o rew ac eira.

O berth i berth, tra parhao 'r hin
  Oer erwin, fe geir ei weled
Yn ehedeg yn ddystaw, fel mewn helynt flin,
  A phryder yn hel ei damaid.

Digon hoff ydyw adlais mwyn
  Y Gwcw yn y gwanwyn,
A meddwl y deffry holl deulu 'r llwyn
  I ganu 'n ber i'w chanlyn.

Ond a dweyd y gwir, pan ddelo 'r Haul
  Ar ein pabell i dywynu,
Mae cyfaill yn lled hawdd ei gael,
  Rhaid diolch fawr pryd hyny.

Rho'wch i mi 'r cyfaill a barha
  Mhob helynt a'm cyferfydd;
A erys trwy 'r gauaf, fel trwy 'r haf
  Yn ffyddlon yn mhob tywydd.

# Er Cof

AM SARAH, MERCH Y PARCH. D. CHARLES, TREVECCA, YR HON A FU FARW AWST 31st, 1860, YN 10¾ MLWYDD OED.

Awn i wylo uwch ben bedd
Ein hanwyl *Ala!
Ar y fan mewn tawel hedd
Y gorwedda,
Hulio wnawn y blodau llon,
(Delwau teg o'r fechan hon,)
Tra bo gofid dwys y fron
Yn ein difa.

Ail adgofio ei gwedd a wnawn
Yn ein hiraeth;
Arllwys poen ein mynwes lawn
Am ein geneth:
Meddwl am ei hysbryd mwyn,
A'r llarieidd-dra oedd yn dwyn
Serch pob un a rhyfedd swyn
Ei thymher odiaeth.

Teimlo braidd yn gas a chwîth
At yr angau,
Beunydd sydd yn dwyn o'n plith
Yr un gorau!

* Gelwid hi yn "Ala" fel hoff enw teuluaidd.

Y blodeuyn teg a fydd
Yn rhagori yma sydd
Yn cael ei gipio gynta' i ddydd
Y pur drigfanau!

Megis breuddwyd heddyw yw
Am ein trysor,
A'i rhinweddau teg a gwiw
Yn ymagor;
Ai angyles fechan fu
Yma yn trigo yn y tŷ
Wedi disgyn oddi fry
Am fyr dymhor?

O! ledneisrwydd pur ei bron
A'i chydwybod!
Yn rhy goeth i'r ddaear hon—
Aeth yn barod!
Aeth i wlad mwy cydnaws a
Chalon dyner, dduwiol, dda;
Per flodeuo yno wna
Yn ddiddarfod.

Henffych! dragywyddoldeb maith!
Gwnaiff esbonio
Loesion dyrus, chwith y daith
A'u llarieiddio;
A rhoi 'r gwynfyd pur, didrai,
Hwnt i ofid, poen, a bai,
O gyd-addoli a'n hanwyl rai
Am BYTH yno.

# Iesu Grist yn Derbyn Plant Bychain.

"Gadewch i blant bychain ddyfod ataf fi, ac na waherddwch iddynt."—Marc x. 14.

Angylion a seraphiaid glân
A'i molant Ef â bythol gân;
Pêr byncia'r saint byth "iddo Ef,"
Ond syned daear, syned nef!
Medd Tri yn Un ac Un yn Dri,
"Gadewch i *blant* ddod ataf Fi."

Y Bugail da ddaeth oddi fry
I deithio yr anialwch du;
Ar ol crwydredig ddefaid daeth
Cyn dygwydd iddynt a fo gwaeth;
A rhyfedd! hefyd—Fugail mwyn—
Mae'n gwilio ar ol—mae'n galw yr wyn.

"Blant bychain, mae y ffordd yn mhell
Oddiyna i'r ardaloedd gwell,
Ac ar y daith fe allai daw
Ystormydd tost oddiyma a thraw;
Dowch, llechwch, fychain, yn fy nghôl,
*Ac yna, ni waeth beth fo'n ol.*"

Mae Iesu Grist yn galw yn dêg,
Ië, hyd yr unfed awr a'r ddeg;

Lle i anobaith llwyr nid oes
Nes tery'r awrlais hanner nos;
Ond gwell, debygwn i, gan ras
Gael gweithio yn y *boreu glas.*

Athronwyr a dysgawdwyr byd
Grynho'nt ddysgyblion lu ynghyd;
Ond rhaid cael doniau mwy na mwy
Cyn myned i'w hysgolion hwy;
"Dowch," meddai Crist, "*blant bach*, yn awr
Eisteddwch wrth fy nhraed i lawr."

Nis gall y cerub dysglaer byw
Ddim cynnwys ond ei lon'd o Dduw;
Yr hen athronydd doeth a chall
Ni chynnwys yntau ond a all;
Nid all y *plentyn* nemawr, ond
*Fe ddeil ei lestr yntau ei lon'd.*

Ac wrth ei lenwi *yn foreu*, daw
'N fil mwy cynnwysfawr ddydd a ddaw;
Fe geiff y bychan lleiaf lês
O'i droi at sylwedd y sarff brês;
Yn iach a chryf trwy farwol glwy
Fe *dŷf* i dragwyddoldeb mwy.

# Athrofa'r Bala.

DAETH Y LLINELLAU HYN I FEDDWL YR AWDWR WRTH GROESI Y BERWYN, A CHYFARFOD AG AMRYW O'R MYFYRWYR YN MYNED I'W TAITH SABBOTHOL.

"Mor brydferth ar y mynyddoedd yw traed y rhai a efengylant dangnefedd."

FEL yr amgylchid Salem draw
A'r hen fynyddoedd ar bob llaw,
Felly yn awr mae 'r Bala bach
Yn nghanol cylch o fryniau iach;
Hiraethog, Mignynt, Garneddwen,
A'r Berwyn anial, oer ei ben,
A bryniau llai yn dringo 'r ne',
Fel caerau oesol gylch y lle,
I gadw yr efrydwyr clyd,
Yn ddigon pell o sŵn y byd.
Ac yma maent yn ddygyn iawn,
Yn gweithio o foreu glas i nawn;
Wrth ddiwyd drin yr "Hic, Hæc, Hoc,"
Hwy dd'ont yn ysgolheigion toc;
Ac ambell un yn fawr ei fri
A urddasolir â *degree.*
Ar ol llafurio yn ddifrêg
Trwy 'r wythnos am wybodaeth deg,

Mor hyfryd ar y Sadwrn fydd
I'r bechgyn gael eu traed yn rhydd;
A'u gwel'd yn cychwyn yma a thraw,
Gan ymwasgaru ar bob llaw;
A neges fawr pob un fydd dwyn
Hen eiriau yr efengyl fwyn
I glyw trigolion yr holl wlad,
Gan lwyr ddymuno eu lleshad.

Bydd weithiau ddau neu dri, neu fwy,
A cherbyd clyd i'w cario hwy;
Un arall geir yn dod yn mlaen
Gan farchog ar gefn ceffyl plaen,
Ac ambell waith fe gwympa 'r march
Gan lwyr ddarostwng gwr o barch;*
Mae 'n anhawdd i'r myfyriwr mwyn
Astudio pregeth a dal ffrwyn.
Un arall mwy diogel ddaw
A ffon brofedig yn ei law,
A'i ddull yn apostolaidd iawn
Yn troedio 'n gynnar y prydnawn.
Wynebant oll i'r bryniau ban,
Can's bryniau welir yn mhob man;
Weithiau anturia "mab y daran"
Yn hŷf i groesi cwr yr Aran;
Ac weithiau i lawr dros *Fwlch y groes*,
Ni welais i 'r fath le 'n fy oes.

* "*Founded on fact.*"

Wrth deithio ar efengylaidd hynt,
Fel hyn a'u penau yn y gwynt,
Gwynt iach yr hen fynyddoedd sydd
Yn codi eu hysprydoedd prudd,
Ac yn eu bywiocau 'n mhob man,
Yn enwedig yr ysgyfaint gwan.
Fe fagai aml un o'r rhai'n
Yn ddigon sicr y *decline*,
Ond fel mae awel y mynyddau
'N eu hadnewyddu y sabbathau:
Mor wych eu gweled ar ddydd Llun,
A bochau cochion gan bob un,
Yn dod yn ol yn llawn o rym,
Am wythnos etto o lafur llym!

Fe gasgla rhai, mai 'nhref y Bala
Y rhag-derfynwyd lle 'r Athrofa;
A bod y rhai a'i mynant ymaith,
Yn gweithio braidd yn groes i'r arfaeth.

---

## Can Ddirwestol.

Ton "*Glan Meddwdod Mwyn.*"

Ardystiais, ardystiais, ardystiais a'm llaw,
Ni feddwaf byth mwyach beth bynag a ddaw;
Newidiais fy nghyffes, newidiaf fy nghan,
Yn lle moli 'r cwrw, mi fola 'r dwr glan;

Gadawaf y ddioten, oll feddwon i chwi,
Darllawiaeth pur natur byth mwyach i mi,
Mewn sobrwydd glan dedwydd byw fyth y b'om ni.

Ffarweliaf a'r Whisci, a'r Brandy, a'r Gin,
A charpiau 'n lliosog ac arian yn brin,
Ffarweliaf a'r Cwrw, a'r Porter, a'r Bir,
Eu pleser oedd fyr ond y poen oedd yn hir;
Aed gwirod fel diod i ffordd gyda 'r lli;
Mae dwr a llaethenwyn 'n fwy mheuthun i mi,
Mewn sobrwydd glan dedwydd byw fyth y b'om ni.

Ffarwel i'r gwirod-tŷ, a'r dafarn. a'u swn,
A dynion yn baeddu eu gilydd fel cwn;
Aed potiau, pibelli a chardiau yn mhell,
'Rwyf bellach am chwarau fy nghardiau yn well,
Trwy Gymry a Lloegr, yn sydyn daeth si,
Fod modd i hen feddwon ddychwelyd i fri;
Mewn sobrwydd glan dedwydd byw fyth y b'om ni.

Ffarwel fy nhroi allan berfeddion y nôs,
A chym'ryd fy llettŷ fel mul yn y ffos;
Ffarwel boreu dranoeth a'i gur yn y pen,
A phoen yn y cylla, a'r wraig yn rhoi sen;
A hwythau 'r plant bychain a'u dagrau yn lli,
Yn gofyn am fara, oferedd, i mi,
Mewn sobrwydd glan dedwydd byw byth y b'wyf fi.

Ffarwel i hudoliaeth y cwmni lle 'r awn,
Y gegin fawr gynes, o gysur yn llawn;

A'm cartref fy hunan, fy ngwraig a mhlant mân,
Heb fwyd, ac heb ddillad, heb wely, heb dân,
A hithau 'r gydwybod, ar ambell i dro,
Yn rhoi y fath frath, nes fy ngyru o nghô;
Mwy, sobrwydd, glan dedwydd, beth bynag a fo.

O henffych Ddirwestiaeth, a moliant i'r dydd
Yr aethum o rwymau fy medd'dod yn rhydd;
'Rwy 'nawr yn ddyn newydd, ac ni's gwn pa fodd,
Pob peth o fy amgylch yn newydd a drodd;
Fy nghartre fy hun yn gysurus a chlyd,
Fy nheulu yn drefnus a lloniach eu pryd,
Trwy sobrwydd, glan dedwydd, yn newydd i gyd!

Mi fum yn y dafarn yn talu 'r hen sgôr,
'R oedd *rhywun* yn barod i'm bwrw i'r mor;
Pa fater ? 'r oedd ereill, rhyfeddod i'm yw,
Aent trwy ddwr a than i fy nghadw i'n fyw,
Heb edliw hen feiau, ond diolch i mi,
Am dderbyn dedwyddwch, ac iechyd, a bri;
Mewn sobrwydd glan dedwydd byw fyth y b'om ni.

Pwy draetha 'r dedwyddwch o ddirwest a ddaw,
Pleserau yn tarddu fel blodau ar bob llaw;
Hyfrydwch bob dydd gyda 'nheulu a ngwaith,
Hyfrydwch y sabbath tu hwnt i bob iaith,
Wel, ffarwel hen lwybrau ynfydion ei gyd,
Ar fyw yn ddirwestol mi roddais fy mryd,
Mewn sobrwydd glan dedwydd tra bwyf yn y byd.

# Y Gibli Gysoniog:

*(The "Bumper Toast.)*

NEU

Y GWRTHDDRYCHAU PRIODOL I'R MEDDWYN YFED ATYNT.

*Hen enwog Gân gyfeddach.—O'r Saesonaeg.*

LLENWCH y gwydryn, y gwpan, yn llawn!
A gwin, cwrw, gwirod,—gwmpeini!
Ac o amgylch y bwrdd, dwys yfed a wnawn,
At—*Lygredd a thrueni!*

Gyrwch y ddiod o gylch drachefn,
A gwegwch eich gwydryn yn hylwyr;
Ac yfwn mewn gwyllt loddestawl drefn;
At—*Lwyr ddymchweliad synwyr.*

Gyrwch o gylch, o gylch yn glau,
Ac yfwn bob dyferyn,
Ag un floedd fawr at—*Bechod a'i wae,*
*A'r Gyfiawn Gosb sy'n canlyn!*

Drachefn, O drachefn!—dewch, llenwch i'r min,
—*Ffarwel enw da a rhinwedd;*
Ac yfwn—yn ddyfnach—drachefn bob un,
—*Gywilydd ein plant a'n gwragedd!*

O gylch o gylch—â bloeddiadau croch,
  Ein meddwdod fo'n cyfodi—
Yfwn at—*Ddagrau Gwraig a'i hoch,*
  A—*Thruain blant mewn tlodi.*

Unwaith drachefn! tra y nerth a barhâ,
  A'r anadl olaf, ysywaeth,
Yfwn—I NI *boen, dolur a phla,*
  *Gwarth bythol a marwolaeth.*

---

## Y Bachgen Gwyddelig a'r Offeiriad.

(CYFIEITHIAD.)

BACHGENYN Gwyddelig call, mirain a mad,
Ei fam o'r wir grefydd, ond Pabydd ei dad;
Ewyllysiai gael myned i'r Llan gyda 'i fam,
Ond ei dad i'r Offeren, a'i mynai 'n ddinam;
Er hyny 'n ddirgelaidd i'r Eglwys yr âi,
A chwennych cael achub ei enaid a wnai.
Y Gweinidog a'i gwelodd, gwobrwyodd ei zel,
Trwy roddi iddo Fibl, 'r hwn garai 'n ddigêl;
Y tad yna 'n orwyllt gan ddigter a aeth,
Fe guddiodd y llyfr, ac fe 'i triniodd yn waeth;
Fe'i golchodd yn aml a'r sancteiddiol ddwfr pur,
Ond amlach fe 'i cospodd, â gwialen a chur:

Er hyny bob Sabboth i'r Eglwys yr âi,
A chwennych cael achub ei enaid a wnai.
Ond un boreu Sabboth fe fynodd ei dad,
Ei lusgo i'r Offeren trwy drais a thrwy frad;
Pabyddion cyndynion cydlusgent mewn gwg,
Gan erchi 'r Offeiriad i faddeu ei ddrwg.
"Na, na myn 'r Offeren" "'does bendith un pryd,"
Ebe hwn, "cyn cyffesu 'r pechodau i gyd."
"Wel," ebai 'r Bachgen, gan ledrithio yn gall,
"Pa faint yw y taliad?" "Ond swllt" ebe 'r llall.
"A raid i bawb dalu a chyffesu 'n ddigudd?"
"Rhaid pawb a broffesa 'r wir Gatholig ffydd."
"I bwy gwnewch chwi 'ch cyffes?" "I'r Deon heb freg;"
"A ydych chwi 'n talu?" "Wyf dri swllt a'r ddeg."
"A gyffesa 'r Deoniaid?" "Cyffesant i gyd,"
"I'r duwiol Esgobion, a thalant yn ddrud."
"A gyffesa 'r Esgobion, gan dalu, ac i bwy?"
"Cyffesant, yn Rhufain, gan dalu eto fwy."
"Wel, wel," meddai 'r Bachgen "peth rhyfedd iawn yw,"
"A yw 'r Pab yn cyffesu?" "O ydyw, wrth Dduw."
"A pha faint mae E'n dalu i Dduw am ryddâad?"
"O dim," eb'r Offeiriad, "Duw a faddeu yn rhad."
"Os felly" ebe 'r plentyn, "y goreu oll yw,
Mae 'n abl i faddeu pechodau o bob rhyw,
A pharod iawn hefyd; âf finnau at Dduw,
Caf arbed fy swllt, a fy enaid gaiff fyw."

## Blaendarddiad Prydydd.

Pan oeddwn yn ddeng mlwydd oed, dygwyddodd i gyfeilles neillduol i fy mam farw, ac ar noswaith ei chladdedigaeth, yr oedd fy mrawd a minau yn y gwely, yn ymddiddan yn dra sobr am angau, y farn, &c., (oblegid cawsom y fraint o gael ein dwyn i fynu yn grefyddol) a dechreuasom gadw oedfa ynghyd, fy mrawd, yr hwn oedd oddeutu tair blwydd hŷn na mi, i bregethu, ac wrth ddechreu iddo, y cyfansoddais o'r bron yn ddifyfyr, fy mhennill cyntaf, a dyma 'fe,

O Arglwydd rho dduwioldeb
  I redeg gyrfa 'r byd,
Fel pan y delo angau,
  Cawn farw 'n llawen fryd:
A'm golwg ar yr Iesu
  A'm prynodd I a'i waed,
Ar groesbren ar Galfaria
  'N hoeliedig ddwylaw a thraed.

Wedi mawr synu wrth y cyfansoddiad hwn, tybiaf i mi a'm brawd neidio o'r gwely i fynegi i'n rhieni ein campwri, ac yr un noswaith cwbläwyd y pennill canlynol, a'r boreu dranoeth urddwyd fi gan fy holl gydnabod yn bwt o brydydd.

Ni gawsom yr efengyl, diolch byth, &c.,
A pherlau gyda'u gilydd, diolch byth,

Mae 'i hôl hi ar lawerodd,
Ac fydd am lawer oesoedd,
Yn arwain tua 'r nefoedd, diolch byth,
Ac yno bydd llawenfloedd, diolch byth.

Ychydig fisoedd wedi'n yr oedd y Gymanfa chwarterol gyntaf yn y Wyddgrug; cynnaliwyd cyfarfod i weddio am lwyddiant ar y pregethu; a diau ni churodd fy nghalon erioed mor wrol ac wrth glywed fy *mhennill fy hun* yn cael ei ganu gan y bobl yn y cyfarfod hwnw, fel hyn:—

Arglwydd, tyred gyda 'th weision
  I'r cyfarfod sy'n nesâu;
Dyro gennadwri nefol,
  A nerth i'w thraethu i bob rhai;
Fel bo miloedd yn ymadael,
  Gan yn gyson seinio cân;
Am y ffynnon a agorwyd,
  Ar Galfarî i'w gwneyd yn lân.

Oddeutu yr un amser y cyfansoddwyd y ddau englyn canlynol:—

*I'r llyfr a elwir "Mêl Awen," gan* PEDR FARDD.

Da gymhwys, nid digymmen—diwyro
  Daw i wared o ben
  Pedr fardd yn hardd heb len
  (Mawl i'w enw) Mêl Awen.

*I rai a arferent yr iaith Saesonig yn lle'r Gymraeg, a hyny o falchder.*

Mor erchyll ac ammharchus—yw gwadu
Gwiw odiaeth dymherus
Iaith ein mam, ddinam ddawnus,
Gomeraeg anghymarus.

Yn fuan wedi hyn cyfansoddwyd y pennillion canlynol ar ddymuniad fy mam, pan yr oedd angau yn tori i lawr lawer o blant ieuaingc yn ein cymmydogaeth.

Mae rhyw droion rhagluniaethol
Pur ryfeddol yn y byd,
Weithiau 'n wir yn annymunol,
Eto 'n fuddiol oll i gyd;
Brenin nefoedd a'u harfaethodd,
Ac a'u trefnodd yn eu lle;
Yn gynnorthwyon, O! mor dirion,
I'n cario 'n union tua 'r Ne'.

Ond pan bo'm yn ymdrabaeddu,
Mewn bai yn gwaeddi am ei lid,
Fe 'n cerydda, cyn ein taro,
I gilio oddiwrtho oll i gyd:
Mae 'n debygol mai rhyw gerydd
Gan yr Arglwydd sydd yn awr,
Yn dwyn afiechyd, dyddiau gofid,
I dori hefyd rai i lawr.

Rhai o'r ieuengctyd sy'n ein gadael,
  Ac yn disgyn lawr i'r bedd,
A'u heneidiau rwy'n gobeithio,
  Yn nofio draw mewn môr o hedd:
Mamau tyner sydd yn wylo,
  Dagrau 'n llifo ar bob grudd;
Tadau hefyd oedd mor dirion,
  O ofid galon sydd yn brudd.

Mae yn bryd i gym'ryd rhybudd,
  Awn yn ebrwydd at ein Duw,
'R unig fan i'r edifeiriol,
  Noddfa rad i'r euog yw.
Awn yn gryno i alw arno,
  I'n cadw heb lithro i bechod mwy,
A chael mewn undeb, wir dduwioldeb,
  A'n gwyneb ar ei farwol glwy.

D.S.—Buwyd yn ofalus i beidio newid gair yn y pennillion uchod; cofied y bardd a'r beirniad hyn.

## DryllDrylliad yr Ager-Long Rothsay Castle.

O ofid digymmar! O alar dieilfydd!
O drallod! am dano yn odrist bydd son,
A gorddwys alarnad gan filoedd o'i herwydd,
O eitha 'r faith ynys i fychan dir Mon.

Bu llawer galarnad ar hen ynys Enlli,
Bu llawer rhyfel-waedd ar fryn Pen-maen-mawr,
Ond dilys erioed ni bu dwysach trueni,
Yn pruddo ein glanau nag welir yn awr.

O! pwy a dybiasai wrth weled y boreu,
Y llonwych gyfeillion mor awyddus i'r daith;
Y töid eu gwynfyd mor fuan gan gymylau,
Y gorweddent y nos mewn gwelyau mor laith.

Pleserau dyfodawl a loywent pob llygad,
Eu meddwl dyeithraf diau oedd y *bedd;* [iad,
Danteithiawl ddedwyddwch oedd oll mewn dysgwyl-
Ond Angau yn unig fwynäodd y wledd!

Yr eiddil, y cadarn, yr hardd, y diniwed,
Gymmysgent eu gwaeddau gwallgofus i'r Nef:
Ond Ow! nid oedd clust o drugaredd yn clywed,
Ond y mor-dwrf dideimlad watwarai eu llef.

Darfyddodd yr ymdrech—a'r elfen fradychawl
Yn fuan attaliodd y curaw yn mhob bron;
Ar morlif a dreiglodd uwch ben fel arferawl,
Euogrwydd ni arafa wyllt rediad y don!

# Crefydd.

Mae rhywbeth mewn crefydd—dyweded y byd
A fyno am dani y'mhoethder ei fryd;
Mae rhywbeth mewn crefydd, na chym'rwn i'n awr
Am dani mo holl ddrud drysorau y llawr;
Gwell genyf mewn tlodi, gymdeithas fy Nuw,
Na meddu, heb grefydd, holl aur coeth Peru;
A chadw 'r drws gwaelaf y' muriau tŷ 'm Tad,
Nag eistedd ar orsedd freninol fy ngwlad.

Fe glywir llawenfloedd 'r annuwiol, gwir yw,
A chrochlef y digrif lle byddo fe'n byw;
Ond nid oes un gradd o ddedwyddwch yn hyn,
Pan gâna ei dafod, ei galon a grŷn.
Ymffrostia y mawrion a'r cryf yn eu nerth,
Y balch, mewn anrhydedd, a'r cyfoethog, mewn gwerth;
Ond nid oes dedwyddwch yn hyny yn bod,
Can's gwagedd yw 'r cwbl, a thristwch erioed.
Mae draen i bob rhosyn o blaniad pob dyn,
A chwerwdod yw gwaddod y goreu o'i win.
Ond O! mae mewn crefydd ryw bleser mwy pur,
Dedwyddwch y cristion sy' ddedwyddwch yn wir;
Rhyw rosyn mwy peraidd, a hwnw heb ddraen,
A gwin goreu 'r nef a bair byth heb wahan.

O! pwy a all draethu dedwyddwch y dyn,
Mewn cymdeithas â'i Arglwydd—tu hwnt iddo ei hun,
Pan dodder ei galon,—cynheser ei fryd,
A choder ei enaid uwch gofal y byd.
Anghofia ei groesau, ei ofid a'i wae,
Anghofia mai y'myd y trallodau y mae;
A llyncir pob cynneddf o'i enaid i gyd,
Mewn nef o ddedwyddwch y'nghanol y byd.

---

## Dinystr Sodom.

"Oblegid ni a ddinystriwn y lle hwn, am fod eu gwaedd hwynt yn fawr ger bron yr Arglwydd."—GEN. xix. 13.

O! MAWR oedd y llygredd a lenwai y ddinas,
  A'r llu o rai anfad a wibiai ar bob llaw,
Ac uchel oedd gwaedd a dolefau 'r gwŷr diras
  Yn dilyn eu chwantau heb arswyd na braw.

A mawr oedd eu pechod, a ffiaidd eu bryntni,
  A dirfawr eu cabledd, arswydlawn eu llef,
A sawr eu haflendid, eu gwŷd, a'u drygioni,
  A'u gwaedd, a esgynodd, och fi, hyd y nef

Esgynodd i'r Nef, ac at Dduw y sancteiddrwydd,
  Y Duw sydd mor bur nas gall edrych ar ddrwg,
Cynheuodd ei lid a deffrodd ei lidiawrwydd,
  Fe dyngodd eu dif'ai yn angerdd ei wg.

A phrin y daeth *Lot* o'r tu allan i'r muriau,
Gan symmud pob rhwystr i ddigter y nen,
Pan syrthiodd y tân ac y saethodd y ffaglau,
Ymdorrodd cymylau brwmstanaidd uwch ben.

Ac och mor ofnadwy y cynhwrf a'r terfysg,
A'r gwaeau echryslawn a lanwodd y lle,
Tywalltwyd y farn yn llifeiriant digymysg,
Anturient i ffoi—ond ni wyddent i b'le!

Fe'u daliwyd y'nghanol eu gwleddoedd a'u maswedd,
Attaliwyd eu rhwysg a newidiwyd eu llef,
Gorchuddiant y llawr yn fawr dyrau o gelanedd,—
A! pwy a all sefyll pan wgo y Nef!

Hwy frysiant o gylch yn dyrfaoedd annedwydd,
Ac angau a edrych yn hyll o bob man;
Os troent i'r maes hwy a leddid yn ebrwydd,
Os rhedent i'r tai, ow, dilynai y tân!

Ac erchyll yn awr oedd eu rhegau a'u llwon,
Tra cnoent y llwch mewn echrysboen diwawr,
A rhai a oblygant i'w duwiau marwolion
Y delwau 'n ddrylliedig a'u curant i'r llawr.

Boneddig a gwreng ac anheddawg elynion,
Arglwyddi a chaethion a drengant y'nghyd,
Yr ieuangc a'r hen, y mammau anfadion,
A'r baban diniwed yn cysgu 'n ei gryd;

Y gwartheg y'mhlith y brochnadau a udant,
Y meirch a orweddant yn dyrrau dilun,
Yr adar o'r wybren yn feirw a gwympant,
Yr enfil yn dioddef am gamwedd y dyn!

A dufwg eu distryw esgynodd i fynu,
A fflam eu dinystriad a ruddodd y nen,
Trigolion pell froau yn ddirfawr ddychrynu,
A bron a thebygu mai 'r byd oedd ar ben!

Tywalltwyd y farn nes dyhuddo cyfiawnder,
Anrheithiwyd y lle âg anrheithiad di ail,
Y boreu ga'dd Sodom y'nghanol ei gwychder
Y nos nid arhosodd un garreg o'i sail!

## Marwolaeth Crist.

Bu farw—do! rhyfeddod mwy
Na hwn ni welwyd drwy yr oesoedd:
Gwel'd Iesu y'ngafael poen a chlwy
Yn marw rhwng y ddae'r a'r nefoedd.

Bu farw—Oh! mi wela 'r gwaed
Yn lli didor oddiwrth ei glwyfau;
A'i wyneb siriol sanctaidd mad
Yn glasu 'n awr gan loesau angau.

Bu farw—Ust! mi glywa'i gri
  Wrth ddwys riddfanu'r gair "Gorphenwyd,"
Gan selio ein hiachawdwriaeth ni
  Cyn iddo roddi i fynu 'r ysbryd.

Bu farw—do! nid rhyfedd fod
  Rhyw gynhwrf trwy yr holl grëedigaeth,
Can's wele, Awdwr mawr y rhod
  Oedd yma 'n dyoddef ing marwolaeth.

Bu farw—do! 'r oedd uffern ddu
  Mewn ymffrost, îs yn gorfoleddu;
A phur drigolion nefoedd fry,
  Yn canu 'n awr, yn awr rhyfeddu.

Bu farw—ond wrth grymu ei ben,
  A rhoddi ei hun yn nwylaw Angau,
Agorodd byrth y Nefoedd wen,
  I bechaduriaid led eu penau.

# Cyfieithiad.

Y Duc o Hamilton.—Yr oedd y pendefig hwn, er yn blentyn bychan, yn hynod o syml a rhinweddol, a chymerai hyfrydwch mawr mewn darllen ei Feibl. Pan oedd oddeutu *naw mlwydd oed*, ac yn chwareu un diwrnod oddiamgylch yr ystafell, dywedodd y Dduges ei fam wrtho, "Tyred, ysgrifena i mi ychydig bennillion, a mi a roddaf i ti goron." Y bachgen a eisteddodd i lawr gan gymeryd papyr ac ysgrifell, ac mewn ychydig o fynydau, dygodd y llinellau canlynol at ei fam.

"As o'er the sea-beat shore I took my way,
I met an aged man who bade me stay:
'Be wise,' said he, 'and mark the path you go,
*This* leads to heaven, and that to hell below;
The way to Life is difficult and *steep*,
The broad and easy leads you to the deep.'"

*Ymgais at Gyfieithu y llinellau uchod.*

Wrth rodio 'r traeth, a gwrando twrf y dwr,
Damweiniol gynghor gefais gan hen wr;
"Bydd ddoeth," eb ef, "a dewis lwybr da,
Un ffordd i nef, a'r llall i uffern â;
Am ffordd y Bywyd, anhawdd yw a serth,
Y lydan, esmwyth, ddwg i uffern gerth."

## Marwolaeth Abel.

*Efa.*

PA le mae Abel? O! pa le
Y mae efe yn aros?
O'i herwydd bu'm mewn trallod dwys
Diorphwys trwy y ddunos.

*Adda.*

Pa le yr ydwyt, Abel fwyn?
Fy addfwyn fad fab heini;
Nid chwannog wyt i fod yn ol,
O ein boreuol weddi.

*Efa.*

Awn, chwiliwn 'mysg y gyrau gwâr,
Lle gwn y câr ymlwybro;
Mae arswyd dirfawr tan fy *mron*,
Mae *hon* yn don am dano.

*Adda.*

Bydd dawel, Efa gu, a phaid
Heb raid âg ymofidio;
Fe ddaw y llangc ar fyr yn ol,
Yn siriol i'th gysuro.

*Efa.*

Gwir fo dy air, er hyn mae braw,—
  Ond pwy sydd draw yn gorwedd ?
Pa ddiogyn yn ymgreinio sydd
  Ganolddydd ar y * tudwedd ?

*Adda.*

Fy mab! fy mab! O! beth yw hyn,
  Pa olwg syn a welaf?
Pa ing a ddaeth ? pa arw nych ?
  I'm bachgen gwych anwylaf?

*Efa.*

Deffro fy mab! O! deffro 'n awr;
  Pa ofid mawr sydd heddyw ?
Paham na chlyw fy mab, O! pa'm ?
  Gu lais ei fam yn galw ?

*Adda.*

Och! beth yw hyn ? y du-goch wa'd
  O'i glwyfus iad yn llifo!
A'i dirion, siriol, gwengar wedd,
  O, rhyfedd! sydd yn duo!

* Wyneb y ddaear.

*Efa.*

A'i deg fron uwch ei galon iach
Dim mwyach sy 'n ymgodi!
Pa beth yw hyn? O! Adda fau?
Mae 'm calon frau yn ofni.

*Adda.*

Ai hyn yw Angau? O! ai hyn
Yw gresyn ffrwyth y camwedd?
O! bechod ffiaidd! Elyn cas!
O! Gwymp diras! O! lygredd!

---

## Y Sabbath.

Blinedig gan ofidiau 'r llawr,
Lluddedig a methedig bron;
O! mor gysurawl ydyw gwawr,
Hyfrydawl wawr y Sabboth llon.

'R ol crwydro 'mhlith tymhestloedd byd
A'm curo 'n flin o don i don,
Caf hamdden i anadlu 'n glyd,
Goruwch eu llid y Sabboth llon.

Rhyw lewyrch trwy 'r cymylau du,
  Rhyw seibiant bach rhag llid y don,
A golwg ar fynyddau cu
  Y Ganaan draw, yw'r Sabboth llon.

Tawela llid y tonau hell,
  Gostega 'r gwynt a'i gryfder maith,
Ac awel bêr o'r wlad sydd well,
  A ddaw i'n lloni ar ein taith.

Ffoed holl drafferthion daear lawr,
  Ei hing a'i gofal ciliant draw;
Na foed o fewn fy mron yn awr
  Ond gofal am y byd a ddaw.

Caf orphwys heddyw oddiwrth fy nghur,
  A gwledda ar ddanteithion nen,
Fel ernes o'r dedwyddwch pur
  A gaiff y llu tu draw i'r llen.

Caf ddod i gynnulleidfa 'r saint,
  Ar Sïon fryn, rhyfeddawl fri!
Nes synu bron uwch ben fy mraint,
  Pa le y daeth fath rad i mi!

Paham na buaswn fel y llu
  Paganaidd ac annedwydd draw,
Heb Sabbath drwy eu bywyd du,
  Na gobaith am un maes o law?

Ni buasai 'mywyd yna i gyd
  Ond cwlwm o ofidiau 'r llawr;
Rhyw uffern gas o fewn y byd,
  Dihêdd, digysur, a diwawr.

Ond O! nid felly gwnaethpwyd im',
  Graslawn a fu fy Nuw i mi;
A mi erioed heb haeddu dim,
  Bendithion gefais yn ddiri!

Fy ngeni yn Nghymru fawr ei rhad,
  Yn nghlyw efengyl fwyn ei llef;
Yn nghanol y ddewisol wlad,
  Y fwya' i breintiau tan y nef.

A'r Sabboth siriol yma sydd,
  A wadwyd i'r Paganiaid pell;
Am hyn fy ymdrech mwy a fydd,
  I'w garu 'n fwy, a'i gadw 'n well.

# Tridiau yn Llandrindod.*

MEDI, 184—.

FY ANWYL GEFNDER,

Hawdd iawn genyf gyflawni fy addewid o ysgrifenu atat o'r lle hwn, oblegid nid oes genyf fawr ddim arall i wneyd, ac y mae genyf rywbeth i'w ddyweyd, ac yr wyf yn teimlo fy meddwl yn lled fywiog.

Lle anial ydyw y lle hwn ar y goreu; ond pan fyddo yr hîn yn wlyb ac yn oer, fel y mae trwy y dydd heddyw, a minau yn glöedig mewn canlyniad, hyd yn nod oddiwrth y difyrwch anghenrheidiol o ymrodio ar hyd mynyddoedd diffrwyth Llandrindod, y mae yn ddyblyg felly. Y mae anialwch y sefyllfa hon yn ddigon i bruddhâu y meddwl anffrwythlawn a thlawd, ond y mae yn tawelu y meddwl gor-fywiog a'r dychymyg gweithredgar, ac yn hwyluso i fyfyrdodau parhaus. O'r hyn lleiaf, yr wyf fi, ti ai gwyddost, yn ymhoni y caracter olaf hwn, ac yr wyf yn cael yr effaith a enwais arnaf fy hun, ac felly yr wyt ti mewn perygl o gael llythyr lled faith heddyw.

Dychymyga am danaf yn awr mewn ystafell fawr bedronglog, lle y mae amryw o deithwyr o wahanol

*Ymddangosodd y Llythyr uchod yn y Gyfrol gyntaf o'r Traethodydd, (1845.)

fröydd wedi cydgyfarfod; oll o'r bron yn estroniaid i'w gilydd; a phob wyneb yn ddyeithr i mi. Y mae un wrth yr aelwyd ac ysbectol ar ei lygaid yn darllen y newyddiadur; un arall lled ieuanc a choegaidd yr olwg arno, yn troi dalenau y '*Guide to Llandrindod;*' gwr ieuanc arall, druan wr! ac argraff y ddarfodedigaeth ar ei wedd, yn sŷn ddarllen llyfr Dr. Buchan ar Physigwriaeth; dau neu dri yn ymddyddan yn farwaidd mewn congl; y mae yma hefyd ddau neu dri o rai yn edrych yn debyg i ffermwyr, ac y maent hwy yn codi yn awr ac eilwaith at y ffenestr gyda golwg bryderus, ac yna yn dychwelyd i'w cadeiriau gydag ochenaid anfoddog, gan feddwl, mae'n debyg, am y cynhauaf diweddar a gwlyb, a chofio am ffrwyth y ddaear yn niweidio gartref. Y mae y gwynt yn chwibianu yn oeraidd trwy yr ychydig goed sydd oddi amgylch yma; y gwlaw yn disgyn yn drwm, ac yn araf-lithro yn ddafnau breision ar hyd y ffenestr; a'r tân yn isel ac ansiriol ar yr aelwyd. Dyma yr amgylchiadau dan ba rai yr ydwyf yn ysgrifenu atat: ond y maent yn fy *suitio* i. Y mae mesur helaeth o'r pruddglwyfus yn fy nghyfansoddiad, fel y gwyddost. Y mae y pruddaidd mewn natur yn cydweddu â fy archwaeth cygystal a'r dysglaer ynddi; cwympiad y dail yn cydweddu a'm hyspryd llawn cystal ag ymagoriad y blodau; trymder gwyllaidd Tachwedd â hwrê ac orohoian

Mai; llef duchanllyd y paun a chaniad yr ehedydd; tŷ galar a thŷ gwledd; mae fy meddwl yn gloddesta ar yr anial brudd. Pe cawswn i gyfleu miwsig y greadigaeth, buasai y cyfan mewn cywair leddf *(flat keys)* i gyd, yn fywydawl ac yn ddifywyd. Mi wnawn gân i'r pruddglwyf *(melancholy)* yn awr, oni bai fod genyf ormod arall i'w ddyweyd.

Ond i ddechreu yn y dechreu. Cefais daith rwydd a chysurus o fy nghartref ddydd Llun, ni chyfarfu dim neillduol â mi. Yr oedd y wlad fras a ffrwythlawn sydd yn amgylchu y ffordd o Groesoswallt i'r Drefnewydd yn ymddangos mor ardderchog a hyfryd i'm golwg ag erioed. Gyda'r hwyr canfyddais fod mynyddoedd deheuol sîr Drefaldwyn mor aml, mor gribog, ac mor noethlwm âg erioed. Treuliais ddiwrnod neu ddau yn dra dymunol gyda 'm cyfeillion yn Ll——. Nid allent fod yn llai na dymunol mewn lle ag y mae ysbryd llettygarwch yn rheoli; lle mae purdeb cyfeillgarwch naturiol, a thynerwch cymdeithas grefyddol yn cyd-breswylio; lle mae rhagoriaethau moesol a meddyliol yn ymddangos mewn cydbwysedd gorhyfryd ac anarferol yn y fuchedd hon. Wedi profi mor hyfryd oedd mwynhau hen gyfeillion fel hyn, anturiais i groesi y mynydd tuag Aberystwyth, lle y bwriadaswn fyned yn benodol, ond cefais fod Eisteddfa Curig, megys cynt, yn eisteddfa y dymhestl a'r gwlaw, a hyny i'r

fath raddau nes i attal fy mynediad drosti. Tröais ben fy march ar y chwith, ac yn fuan cefais fy hun yn trafaelu gyda chadwyn o greigiau llymion diffrwyth ar yr aswy, a'r afon Wy, gyda'i chulddyffryn destlus ar y dde, gan fy arwain tua sîr Faesyfed. Wedi cyraedd cyrau y sîr hono, synais a galarais wrth weled fel yr oedd yr Iaith Gymraeg yn colli tir, a'r Saesoneg yn ymestyn i'r Dywysogaeth; pe bae yn Saesoneg hefyd. Yn wir, ni chlwyfwyd fy nghlustiau erioed yn fwy nag wrth glywed gyda'r fath acen ddrwgseiniol y maeddir iaith y Sais yn y wlad hon. Wel, wel, colli tîr y mae yr hen iaith! Clywais fod hen weinidog o eglwys Loegr, yn rhywle rhwng Rhaiadr a Llandrindod, eto yn fyw, yn nechreuad gweinidogaeth yr hwn nid oedd *dim Saesoneg* yn cael ei arfer trwy'r holl fro, ond yn awr nid oes *dim Cymraeg*. Gresyn! gresyn! ni rown i garai, wedi iddynt golli iaith eu mam, pe dysgent ryw iaith arall, yn lle y baldordd annosbarthol sydd ganddynt yn y gororau yn gyffredinol, nad yw na'r naill beth na'r llall.

Tua chwech o'r gloch prydnawn dydd Mercher, cyrhaeddais Landrindod. Wedi rhoddi fy march i ofal y gweision oddi allan, arweiniwyd fi i'r ystafell hon, lle y cefais gwmpeini lled luosog yn eistedd oddi amgylch y bwrdd tê,

'Y ddiod a lona natur heb ei meddwi.'

Yma canfyddum yn fuan fy mod yn wrthddrych sylw manwl a chraff gan belled ag y gellid gwneuthur hyny a chadw o fewn terfynau gweddeidd-dra a moesgarwch; ar yr un pryd, cefais fy hun, mewn atdaliad a hunan-ymddiffyniad, yn sylwi mor bell ag y meiddiwn o fewn yr un terfynau, arnynt hwythau. '*The proper study of mankind is man;*' neu, fel y cyfieithid y syniad gan un o obeitholion ieuainc y *British Schools* yn un o'r misolion diweddar—'Priodol efryd dynolryw yw dyn.' Nid mwy priodol na hyfrydol genyf fi yw yr 'efryd' hon. Da genyf yw tremio ar wynebau ac ysgogiadau dynolryw a dychymygu oddiwrth hyny beth yw eu nodweddiadau. Rhaid i mi gyfaddef fod *Physiognomy** yn llawn mwy deniadol nâ *Phrenology*† i mi. Y mae yn llawn mwy manteisiol hefyd i astudio y wynebddysg hon mewn lle fel hyn. Y mae dynion wedi eu gwahanu o'u cylchoedd arferol yn fwy tueddol i ddangos eu priodoliaethau neillduol; ac heblaw hyn, y mae yn haws sylwi ar, a dysgrifio priodoliaethau dyeithriaid nas gwelsom o'r blaen, na'r eiddo ein cyfeillion a'r rhai yr ydym wedi hir gynefino.

Canfyddais yn fuan fod dybenion gwahanol iawn gan y rhai a gynniweiriant i Landrindod. Yr oedd yr olwg iachus oedd ar y rhan fwyaf o honynt yn dangos mai nid er mwyn iechyd yn unig y deuent yno; tra yr oedd yr olwg bryderus ac afiach oedd

* Wynebddysg. † Penglogddysg.

ar rai, a'r ymröad i arfer y moddion iechyd oedd yn y lle hwn, yn dangos mai mater bywyd oedd eu hymweliad yno. Yr oedd hi yr un fath wrth ffynnonau Llandrindod ag wrth ffynnonau yr iachawdwriaeth; digon o wahaniaeth rhwng yr iach ei deimlad â'r hwn oedd yn teimlo ei fywyd mewn perygl. Y naill a'i holl ymgais am fwynhâd a'r llall am iachâd. Onid felly y mae gwrandawyr yr efengyl?

Ond mi fanylaf dipyn ar y caracterau y cyfarfum â hwy yma. Am wn i nad y mwyaf cyhoeddus yw rhyw gapten sydd yma er ys cryn amser, ac felly a hybarchedd henafiaith *(seniority)* yn perthyn iddo, ac wedi cael cyfleustra i fod yn hysbys o bawb fel y deuent yma, y naill ar ol y llall. Y mae y capten oddeutu deg-a-deugain oed neu fwy, wedi trafaelu llawer ar holl chwarteri y byd, ac o herwydd hyny y mae ei feddwl wedi ei ëangu, ac y mae y sirioldeb calonog hwnw yn briodoledd iddo, sydd yn dilyn hir ymarferiad a'r byd, ar feddwl gwych, arwraidd. Y mae y capten yn gwisgo rhyw *gôt* lâs laes am dano, a chap glas bychan am ei ben, ac yn mha le bynag y mae rhyw gylch ymddyddangar wedi ei ffurfio, y mae y capten yn sicr yw weled yn y canol. Y mae yr holl gwmpeini yn hyf arno, ac yn cymysgu eu sylwadau wrtho â, 'Fel hyn a hyn, onide, capten?' Beth meddwch chwi, capten?' Ië, yn wir, er mor

wylaidd mewn cymdeithas wyf fi, fel y gwyddost, eto yr wyf yn cael fy hun yn ddigon hyf i alw ar, ac i gyfarch y 'capten fel hyn a hyn.'

Caracter hollol groes i hwn yw rhyw lanc ieuanc sydd yma oddeutu pump-ar-hugain oed. Y mae gwisg hwn yn arwyddo gofal a manyldra mawr; modrwy aur ar ei fŷs, yspíen-ddrych yn crogi ar ei fynwes, a'i wallt du yn dysgleirio gan olew peraidd, fel nad ellir dyweyd pa un ai ei ben ai ei fotasau sydd ddysgleiriaf. Y mae yn rhygyngu wrth gerdded, ac yn siarad yn gymhenllyd a mursenaidd. Y mae y creadur hwn fel pe byddai yn meddwl fod gwledd i'r holl synwyrau dynol, i'r llygaid a'r ffroenau a'r clustiau a'r cyfan i'w chael yn ei bresennoldeb dihafal ef! Y mae hwn yn perthyn i'r rhywogaeth o greaduriaid diniwaid a eilw y Saeson y '*puppy*.' Druan ddyn! mor groes i'r capten! heb ei dynu trwy'r byd a'i ddwyn i adnabod ei hun. Y mae deg cant o filoedd o filoedd o bobl yn y byd, ac y mae y *puppy* (y coegfalch) yn mhob cymdeithas fel pe tybiai ei hun y rhagoroleiddiaf o honynt oll! Yr ynfyttyn! y *puppy* mewn cymdeithas gyffredin, a'r pharisead mewn cymdeithas grefyddol (dau *species* o'r un genus,*) yw y ddau beth atgasaf genyf o bob peth. Gelli benderfynu na wnes i fawr *siapry* o hwn.

* Dau fath o'r un rhywogaeth.

Fy nghyfaill mwyaf, tra yma, ydyw rhyw ddyn ieuanc, oddeutu wyth-ar-hugain oed, y mae yma er ys amryw wythnosau; yr wyf yn deall fod ei gartref yn rhyw le yn y Deheubarth. Galwodd hwn fy sylw, bron yn gyntaf un pan y deuais yma. Wrth edrych yn wylaidd ar y cwmpeini oedd oddiamgylch y bwrdd tê, arosodd fy llygaid ar ei wedd afiach, a throdd fy nghalon ynof pan ddisgynodd arnaf edrychiad mynegiannus *(expressive)* ac annaearol ei lygaid ef. Mi welais fod y darfodedigaeth yno! Gyda hwn yr wyf wedi crwydro llawer ar y bryniau oddiamgylch Llandrindod. Y mae wedi adrodd i mi drachefn a thrachefn holl arwyddion ei afiechyd, ei ddechreu, ei gynnydd, ac yn enwedig yr arwyddion gobeithiol o iachad sydd yn awr yn ymddangos. Y mae y meddyg yn dyweyd nad oes dim a'i gwella oni wna Llandrindod. Y mae fel pe byddai yn foddhad i'r gwr ieuanc truan i mi wrando ar ei gwynion. Mae ef yn poeri gwaed ar brydiau, ond y mae y capten, yr hwn sydd yn cymeryd arno ddeall ychydig am feddyginiaeth, wedi dyweyd mai o fân lestri y gwddf, ac nid o'r ysgyfaint, y mae y gwaed yn dyfod. Y mae hyn wedi ei gysuro yn fawr; dyn wrth foddi a ymlyna wrth bob gwelltyn. Fy nghyfaill anwyl, mae arnaf ofn fod dy haul ar fyned i lawr! afiechyd gwenieithus, ond marwol, a ymaflodd ynot! Ond O! fy nghefnder, yr hyn

sydd yn gwneyd amgylchiad y dyn hwn yn fwy torcalonus yw, nad yw yn gwybod dim am obaith iachawdwriaeth! Dyfod o bell at ffynnonau Llandrindod am iachâd i'w gorff, ac heb feddwl am ffynnonau y dyfroedd byw yn ei ymyl, am iachâd i'w enaid! O! mor anghenrheidiol, ac eto mor anhawdd, yw bod yn onest wrth yr afiach tu hwnt i obaith! O! na byddai pob meddyg yn dduwiol, a phob gweinidog duwiol yn feddyg!

Un arall go amlwg yma, sydd bladres o wraig weddw, siriol dros ben; a golwg gomfforddus ac annibynnol arni; y mae hi yn o rydd ar ei thafod; yr oedd yn hawdd gweled ei bod yn un o sefyllfa dda, a chanddi nyth clŷd iawn yn rhywle; yn wir, yr oedd hi yn rhoi mwy na haner amneidiau o hyn yn awr a phryd arall yn ei hymddyddanion. Yr oedd y fenyw hon yn ymddyddan llawer gyda gwr boneddig oedranus oedd yma, a golwg lled isel arno. Dyn cyfeillgar, tirion, a hynaws oedd; ond Ow! yr oedd yn gaethwas i feddwdod. Yr oedd maluriad meddwdod yn amlwg yn ei gorff; gwelid arno, nid y tewder chwyddedig afiach sydd yn dilyn hir anghymedroldeb mewn diodydd brâg, ond y teneuder afiach a'r wyneb salw llinorog sydd yn dilyn hir feddwdod ar y diodydd poethion. Anhapus wr! nid allai hwn gyfnewid gair a neb y boreu nes cael

ei wydriad o frandi, a gwydraid yn awr a phryd arall trwy'r dydd (heb lwyr feddwi), i gadw y gwres dynwaredol *(artificial)* yn ei waed; a bywyd a sirioldeb ffuantus yn ei gyfansoddiad. Ac eto nid oedd yr un callach nag ef yn y cwmpeini, na neb mor dyner a mwyngar. Och fi! na foddlonai anghymedroldeb ar yr anifeilaidd o ddynolryw, yn lle ymorchestu i ddymchwelyd y galluoedd dysgleiriaf, ac i ddifuddio y teimladau mwyaf coethedig yn mhlith dynion! Ar ol dinystrio ei gorff â diodydd annaturiol, y mae yr anffodus hwn wedi dyfod i dreio beth a wna'r dwfr at feddyginiaethu'r drwg. Ond ysywaeth! mae arnaf ofn ei bod yn '*too late!*'

Yr wyf yn ofni dy flino â manylrwydd gormodol. Ni wnaf ond enwi un caracter arall sydd yma, sef gwr oddeutu deugain oed. Y mae rhywbeth yn llednais iawn yn perthyn i'r dynsawd hwn. Mae yn bur lân a manwl yn ei wisgiad, yn drefnus a rheolaidd ei weithrediadau, yn troi allan bob tro fel o'r *band box;* ei het yn llyfn, ei fenyg yn lân, a'i *umbrella* bob amser yn ei law, wedi ei chau i fynu yn dyn'a chryno. Ond nid yw ef fel y *puppy* yn ei drefnusrwydd, sef yn ymhongar a hyf; ond y mae yn wylaidd ac ofnus; a gormod gorchest iddo edrych yn llygaid neb wrth siarad â hwynt. Y mae y rhai sydd yma er ys peth amser wedi myned yn lled hyf ar eu gilydd, a ryw fodd y maent wedi

cael allan mai hên lanc yw y gŵr hwn, a mynych yw y digrif eiriau (*jokes*) a basir ar ei draul ef. Y mae y wraig weddw yn enwedig yn o galed arno oblegid ei hen lancedigaeth. Yn wir nid oes genyf fawr o *bity* drosto. Am hen ferch, nid wyf yn ystyried yn ddynol cellwair a'i hunigedd; ond am hen lanc, y mae rhyw radd o euogrwydd gweithredol ynglyn a'i neillduolrwydd anghysurus ef; ac am hyny, y mae yn nod têg i dipyn o wawdiad diniwed. Y mae llawer rhywogaeth o greadigaeth wedi eu creu i ymgyplu heblaw dynolryw, ac y mae y cyfan sydd wedi eu trefnu i gyplysu yn y byd direswm yn gwneuthur hyny. Nid wyf fi yn deall fod dim *hen lanciau* yn y greadigaeth ddireswm—Hên lanc o aderyn y tô! hen lanc o golomen! hen lanc o lew! y mae natur yn cyffroi rhag y fath syniad. A chan fod yr hen lanc mewn ystâd annaturiol wirfoddol, y mae yn naturiol chwerthin tipyn am ei ben.

Gyda y rhai hyn, y mae yma amryw o fffermwyr sylweddol yr olwg arnynt, ynghyd a'u gwragedd; ond gan fod y tylwyth hyn oll mor hynod am yr hyn sydd ynddynt yn debyg i'w gilydd, ac am yr hyn sydd ynddynt yn annhebyg i ereill, nis darluniaf hwynt.

Yn awr, nid wyf fi yn teimlo dim euogrwydd am fy hyfder yn disgrifio fy nghwmpeini fel hyn; oblegid tra yr ydwyf fi yn dychymygu am danynt

hwy, yr wyf yn sicr eu bod hwy oll wedi bod yn fy mesur ac yn ffurfio barn am danaf finnau. Y mae un amgylchiad lled ffafriol i mi wedi dygwydd gyda golwg ar hyn. Ti a wyddost mai rhyw olwg digon gwael a gwirion sydd arnaf fi mewn cymdeithas; ac felly nid wyf yn meddwl i mi wneyd argraff dda yn y byd ar y cwmni yma yn fy nyfodiad cyntaf atynt. Ond ar ol tê, fe aeth amryw o'r dynion i roi tro, ac yn mhlith pethau ereill aethant i'r ystabl. Dygwyddodd fod y ceffyl mawr genyf ar y daith hon, ac y mae golwg lled fawreddog ar yr hen geffyl, yn enwedig yn yr ystabl. Beth bynag, ar ol deall mai myfi oedd perchenog y ceffyl mawr, yr oedd gwahaniaeth diammheuol yn y parch a delid imi yn yr ystafell hon. O ran hyny, yr oedd y fath beth yn eithaf naturiol, oblegid, Dyn bychan; ceffyl bychan:—ceffyl mawr; dyn mawr. Y mae yr ymresymiad yn eithaf amlwg, fel na raid i mi ymboeni i'w osod mewn cystrawen resymegyddawl o dy flaen di, yr hwn wyt yn deall Euclid. Mae yn ffaith i mi esgyn amryw raddau mewn cymdeithas trwy offerynoliaeth yr hen geffyl—trwy ffawd dda, ni ddarfu iddynt edrych ei ddannedd ef. Mi welais mai wrth ymddangosiadau allanol y bernid dynion yn mŷd bach Llandrindod, yn gystal ag yn y byd mawr yn gyffredinol. Am wn i, nad oes rhyw deimlad heblaw parch yn eu meddiannu tuag ataf

erbyn hyn, wrth fy ngweled yn ysgrifenu cryn lawer. Nid oes yma neb yn ysgrifenu ond myfi. (Rhyfedd cyn lleied o lëenyddion sydd yn y byd, ac yn enwedig yn Nghymru. Rhodder fod yma ddeg can mil o drigolion—*Cwest.* Pa faint o 'fodau deallawl' sydd yn hyny? Pa un a wnawn, fy anwyl gâr, ai dymuno colli eu hiaith i'r Cymry, ai colli gwybodaeth yn ei manteision mwyaf? Y mae yn gyfyng arnaf benderfynu.) Bron na thybygaf fod tipyn o arswyd yn meddiannu y bobl hyn wrth fy ngweled yn ysgrifenu cymaint, yn debyg i'r hyn a feddiannai yr Ysgotiaid yn mhresennoldeb eu hysgrifenydd enwog, pan ddywedodd y bardd wrthynt—

> 'There's ane amang ye takin' notes,
> An' faith, he 'll print 'em.'

Y mae yn mŷd bach Llandrindod, fel yn yr holl fyd, ddwy neu dair o raddau o bobl. Y mae yr *aristocracy* yn y tŷ hwn, mewn ystafell briodol iddynt eu hunain. Nid ydym ni, y canolradd, yn gweled fawr o honynt hwy. Ond gwelais un o honynt ddoe yn cael myned drosto wrth brynu ceffyl. Tybygaf ei fod yn ŵr boneddig lled fawr wrth ei ymddangosiad a'i weision. Yr oedd wedi hoffi ceffyl yn perthyn i ryw ŵr ieuanc o ymwelydd yma, oedd yn yr ystabl: ac fe berswadiwyd y gwr ieuanc i werthu y march, gan ei fod yn cael cymaint mwy am dano nag a dalai. Rhyfedd gymaint o

wahaniaeth oedd rhwng sylwadau rhyw rai a'r gwr ieuanc tu cefn, a'u sylwadau hwy ac yntau yn wyneb, y gwr boneddig, mewn perthynas i'r ceffyl. Gellid meddwl bron, fod rhyw ystryw yn nghnawd ac esgyrn ceffylau; prin erioed y gwelir un yn newid dwylaw, na bydd tipyn o dwyll, ryw ochr neu gilydd Y mae hi yr un fath yn Llandrindod. Da bod *steam*, neu rywbeth, yn dyfod i attal tipyn ar y fasnach demtasiynaidd hon. Clywsom un arall o'r *aristocracy* yn y *cwrt* yn hwyr neithiwr, yn gwaeddi ac yn terfysgu fel un wedi hanner gwallgofi. Erbyn ymofyn, beth oedd (gyda galar y dyweder) ond gwr offeiriadol wedi meddwi! Mae yn deg dyweyd, hefyd, i mi glywed fod yma offeiriad yn ddiweddar oedd yn mynu cadw addoliad bob dydd gydâ'r holl deulu yma. Rhyfedd fel y mae eithafion yn cydgyfarfod, ïe, yn myd bychan Llandrindod.

Yn awr, fe ddymunit gael ychydig o ddaearyddiaeth a hanes llëol Llandrindod. Y mae rhyw un yn sylwi fod pob gwlad yn cynnyrchu digon o feddyginiaethau ar gyfer y clefydau sydd yn briodol iddi. Felly am Gymru. Rhwng ei llysiau, a'i mwnau, a'i dyfroedd, tybygaf y gallai, ond iawn astudio eu rhinweddau, fod yn annibynol ar bob meddyginiaethau tramor. Ac y mae yn ddigon tebyg y gwnai ei meddyginiaethau ei hun ddygymod yn well â'r trigolion, na'r pethau dyeithr a arferir. Y mae sylw

arall yn ymgynnyg i fy meddwl yma; sef am y cyfartaledd gyda pha uu y mae y Creawdwr wedi dosbarthu anghenrheidiau y bywyd hwn. Nid yw pob anghenrhaid yn yr un man, ond y maent yn wasgaredig; a lle y mae diffyg o un peth, y mae cyflawnder o'r llall, a daioni yn mhob man. Y mae rhyw gydbwysedd hynod i'w ganfod yn nhrefniadau natur. Os na bydd ffrwythlonrwydd ar wyneb y ddaear, fe geir trysorau yn ei chrombil; ac i'r gwrthwyneb, os na bydd brasder mawr ar ei gwyneb, na thrysorau o fŵn a glo o'i mewn, fel yn Llandrindod, eto fe geir dyfroedd meddyginiaethol yn ffrydio o honi er gwellâu anhwylderau y trigolion.

Y mae Llandrindod wedi ei gosod yn gyfleus iawn, megys yn y canol rhwng Gogledd a Däau Cymru, ac ar gyffiniau y Saeson hefyd; felly gall y cleifion o bob parth yn hwylus gyfarfod ynddi. Nis gallaf ond gresynu wrth weled fel y mae diffyg ysbryd yn y Cymry yn rhwystr iddynt fanteisio ar y trysorau sydd ganddynt. Pe buasai y ffynnonau hyn yn rhywle yn nghanol Lloegr, buasai cyn hyn olwg tra gwahanol ar y fro hon ragor a welir. Yn lle yr anial annhrigiannol, buasai yma dref deg wedi ei hadeiladu, *terraces* a *chrescents* ar bob llaw; a'r dwfr iachusol yn llifo o enau llew o farmor, yn lle cael ei godi o'r hen *bwmp* fel y mae yn awr; ac fe

fuasai yma Bapur Newydd yn cael ei gyhoeddi, i adrodd pwy yw yr ymweledyddion, a phwy yr ymadaelyddion, bob dydd; a *band* o fiwsig yn seinio ar hyd y rhodfeydd gyda'r hwyr, &c. &c. Ond och fi! nid felly y mae; Cymru ddiysbryd i gyd drosti sydd yma. Nid oes yma ond un *Inn* o bwys. Ac y mae y rhan fwyaf o'r ymweledyddion yn cysgu yn y tai ffermydd sydd yma ac acw yn dra anghysbell. Y maent yn dwyn eu bwyd gyda hwynt oddicartref, ac yn *clwbio* â'u gilydd yn gartrefol a chyntefig iawn.

Y mae y ddwy brif ffynnon o flaen drws y tŷ hwn, a thelir rhyw ychydig gan bawb i ŵr y tŷ bob dydd am hawl i yfed faint a fyner o ddwfr. O chwech i saith y boreu, fe welir yr ymweledyddion yn ymdywallt o bob ochr tua'r ffynnonau, â'u gwydrau a'u hanner peintiau yn eu dwylaw. Y mae y ddwy ffynnon, un y *saline* (halenawg), a'r llall yn halenawg ond gyda mwy o *sulphur*, yn tarddu o fewn oddeutu ugain llath i'w gilydd. Y maent felly yn bur gyfleus, yn debyg i *de* a *choffi* ar yr un bwrdd. Eu heffaith, yn enwedig yn gymysgedig, yw i oeri a phuro y gwaed a rhyddhau y corph. Y maent yn yfed o chwech i ddeuddeg o hanner peintiau, ïe, ac weithiau dros ugain, y naill ar ol y llall. Y mae tair o rodfeydd oddeutu tri chan llath o hyd o flaen y ffynnonau, a rhwng yr yfed y mae yr holl gwmni yn rhodio yn ol ac yn mlaen i gynnorthwyo gweith-

rediad y dwfr, a rhwng pob rhodfa yn galw wrth y *pwmp* am 'hanner peint eto.' Fe chwarddet pe gwelit mor awyddus a di-ildio y mae rhai yn yfed; yn debyg i'r Gwyddel; yr hwn, wedi cael blychaid o *bills* gan y doctor, a lyncodd y blychaid i gyd ar unwaith, gan ddyweyd, os oedd un *bilsen* yn gwneyd ychydig o les, fod yn rhaid i'r cyfan wneyd llawer.

Y mae ffynnon arall oddeutu hanner milldir oddi yma. Y mae hono a llawer o naws mŵn haiarn *(chalybeate)* ynddi, ac yn tueddu i gydrwymo a chryfau y cyfansoddiad. Ar ol llwyr lanhau y cylla, drwy ymarfer a'r dyfroedd ereill am beth amser, arferir hon yn ddiweddaf oll er ei adnerthu.

Rhyngot ti a minnau, fy nghâr, yr wyf yn meddwl pe caid rhai i godi mor foreu, i rodio gymaint yn awel y bryniau, ac i yfed cymaint o ddwfr oer ag â wnant yma, y gallent oll gael cymaint o iechyd gartref ag yn Llandrindod; ond ni waeth tewi, nid Llandrindod fyddai hyny. Y mae pobl yn byw llawer mwy wrth ffydd nag y maent yn ei feddwl. Y maent yn byw wrth ffydd, lle y dylent fyw wrth reswm; ac am fyw wrth reswm yn unig lle y dylent fyw drwy ffydd. Yr wyf wedi meddwl hefyd y byddai yma le gwych iawn i godi *Hospital* ddŵr *(Hydropathic.)* Pe cawn i bobl i arfer cymaint o ddwfr oddiallan, ac y maent yn arfer oddi mewn yma, yr wyf agos yn siwr yr iacheid naw o bob deuddeg o'u clefydau.

Beth meddi di am dreio, a rhoi D. D. (Doctor Dŵr) ar ol dy enw?

Yn awr, mi a ddybenaf fy llythyr hirfaith gydag ychydig bennillion a gyfansoddais yn ddifyfyr (!) chwedl fy mrodyr barddonawl, heddyw y boreu. Yr wyf yn meddwl fod y dyfroedd hyn yn ffafriol i'r awen. Yn wir y mae rhyw gysylltiad agos rhwng y cylla a'r ymenydd. I gael ymenydd clir, rhaid cael cylla clir. Ac y mae cysylltiad rhwng holl gorph y bardd a'i awen. *Excessive sensibility*, tybygaf, yw anhepgoroledd mwyaf y gwir fardd;—nid y saer geiriau a chanddo ei restr o *ddovetails* cynghaneddol, neu 'r odl-deiliwr, gyda' i bedwar-mesur-ar-hugain, wyf yn ei feddwl. Ac y mae dadlwytho y cyfansoddiad yn rhoi chwareu têg i'r *nerves* ysgogi. Nid wyf fi yn meddwl, dëalla di, y gwna Llandrindod, nag un llan na choleg chwaith, un dyn dwl yn ddysglaer, nag un di-awen yn fardd. Ond fel y dywedai rhyw awdwr wrth ysgrifenu cyfarwyddyd cogyddawl—'Yn gyntaf, deliwch eich ysgyfarnog, yna blingwch hi;' felly y dywedaf finnau, 'Yn gyntaf, deliwch eich bardd, yna, anfonwch ef i Landrindod, neu i'r coleg, &c.' 'Nid bardd ond a enir.' Ond yn awr y pennillion.—Gwel tu dal. 121 o'r llyfr hwn.

# TRIDIAU YN LLANDRINDOD ETO.*

"Y peth a fu o'r blaen sydd yr awr hon."

Fy Anwyl Gar,—Oddeutu pymtheng mlynedd i'r tymmor hwn y bum i yn Llandrindod o'r blaen, yr ysgrifenais hanes fy arosiad yno i ti, ac y rhoddaist tithau fy llythyr yn y Traethodydd ieuanc. Gwnaeth y llythyr hwnw y fath gyffro yn y byd llênyddol, fel oni bae fod trigolion Llandrindod mor bell ar ol eu hoes yn hyn fel ymhob peth arall, y buasent yn ddiau wedi rhoi "*testimonial*" i ti ac i minnau am eu *hadvertisio.*

Clywais fod yr hen bregethwr twym a gonest Robert Owen, Llanrwst, unwaith wedi myned i ryw Gyfarfod Misol, ac wedi cael hwyl dda iawn ar weddi yn y cynnulliad neu y gynnadledd gyntaf, ac yn union ar ol y cyfarfod hwnw, a chyn y moddion cyhoeddus, i'r hen ŵr sydyn a da droi ei gamrau yn galonog tua chartref. "I ba le yr ewch chwi yn awr," meddai rhywun wrtho, "cyn i'r cyfarfod prin ddechreu?" "O!" meddai yntau, "mi a âf adref â 'nghoron ar fy mhen." Felly, o ran Llandrindod, gallwn innau aros yn llonydd, a myned i'm medd, am a wn i, "â 'nghoron ar fy mhen." Ond, fel y gallai dy fod wedi sylwi, fy nghâr, y mae amryw o'r brodyr anwyl yn myd llênyddol Cymru, yn enw-

* Ymddangosodd y llythyr uchod yn y Traethodydd am Medi, 1859.)

edig rhai o fodau mwyaf deallol "y *South*" yna, wedi bod yn cerdded yn yr un llwybr ag a gymerais i y pryd hyny. Cawsom "Dridiau yn Abertawe;" "Pythefnos yn Llanwrtyd;" "Llythyr o Liverpool;" "Gwibdaith trwy Fôn ac Arfon;" "Llanfair a Llanwrtyd," &c., &c., oll yn bur dda yn wir; ac nid oes arnaf fi ddim cywilydd sicrhâu mai dysgyblion i mi ydynt. Mae nhw yn dyweyd, fel y cei di glywed yn union, fy mod i yn dechreu myned yn hen. Nid wyf fi ddim yn caniatâu hyny yn hollol; ond gan eu bod yn dyweyd hyny, mi a gymeraf finnau y rhagorfraint sydd yn perthyn i hen bobl i ymffrostio ychydig, ac a ddywedaf nad oes yr un o honynt wedi dyfod i fyny yn hollol â'r copi a osodais o'u blaen. O ran hyny, fel y mae y bobl graff yma yn dyweyd, nid oes dwy ddeilen yn hollol yr un fath mewn natur; felly fe allai fod fy arddull innau yn anefelychadwy. Bid a fyno, yr wyf yn clywed ar fy nghalon, ar ol yfed dyfroedd Llandrindod am dridiau eto, roddi copi arall o flaen fy nysgyblion anwyl ac athrylithfawr.

Gan fy mod wedi manylu cryn lawer ar Landrindod ynddi ei hun yn fy llythyr o'r blaen, y mae arnaf ofn na bydd genyf ryw lawer iawn i'w ddywedyd am y llanerch hono yn benodol. Am hyny yr wyf yn tueddu i wneyd fel y byddaf yn clywed ambell bregethwr yn gwneyd. Os na bydd efe yn

siŵr fod ganddo ddigon i'w ddyweyd ar fater y testun, fe ragymadrodda yn helaeth iawn mewn sylwadau ar yr adnodau a'r paragraphau rhagflaenorol i adnod y testun. Fe allai na bydd dim cysylltiad mewn synwyr, ond fe fydd cysylltiad llëol neu argraffyddol rhwng yr holl adnodau, waith y maent oll yn yr un bennod; a chan fod y gŵr yn dyfod at ei destun o'r diwedd, y mae yn rhaid ei fod ar y y ffordd at hwnw o hyd, er, hwyrach, nad allai rhywun o synwyr cyffredin weled pa fodd yr oedd wedi ei arwain iddo. Wedi treulio hanner awr fel yna, bydd y llefarwr yn wynebu gyda digon o hyder ar y testun ei hun, oddiar ymdeimlad y gall draethu tipyn arno am yr hanner awr gweddill doed a ddêl. Felly finnau, er fy mod wedi myned trwy Sir Fôn a Sir Gaernarfon, a thros ben uchaf y Wyddfa, a thrwy ranau o Siroedd Meirionydd, Trefaldwyn, ac Aberteifi; eto, gan fod y cwbl yn Nghymru; a chan fy mod, cyn dyfod adref yn ôl, wedi cyrhaedd Llandrindod o'r diwedd, yr wyf yn haeru fy mod ar y ffordd yno o hyd; ac y mae genyf cygystal hawl â'r brawd uchod i wneyd ambell nodiad brysiog ar y daith cyn dyfod at bwnc arbenig y testun.

Wel, yn Sir Fôn, mi gyfarfyddais â hen gyfeilles na chawswn prin olwg arni er y "Tridiau" o'r blaen. Yr oedd y foneddiges hon yn nyddiau ei hieuenctyd

wedi bod yn ferch ieuanc o gryn sylw ymhlith rhyw ddosbarth yn Nghymru. Am a wn i nad allwn i anturio dyweyd mai hi oedd prif "*belle*" ei dydd yn y cylch y symudai ynddo. Bu mwy nag un na dau na thri na phedwar o rai sydd yn awr yn "ddynion mawr Cymry" yn eistedd wrth ei thraed ac yn ymgeisio am ei ffafr. Ond bellach y mae y Gwanwyn wedi myned heibio, a'r Hâf wedi darfod, a Hydref wedi dechreu arni. Ond fel y mae i bob tymmor mewn natur ei brydferthwch priodol ei hun, felly y mae yn rhaid i mi ddyweyd fy mod yn canfod prydferthwch priodol i'w thymmor eto yn aros ar wedd ac ar ysbryd ac ar ymddiddanion fy hen gyfeilles. Yr oedd hi wedi bod yn dyoddef yn ddiweddar gan radd o afiechyd; ond er fod y rhan ddaearol o honi braidd yn adfeiliedig, yr oedd y rhan ysbrydol mor fywiog ag erioed; ei llygaid yn dysgleirio gan synwyr a theimlad fel cynt, a'i hymadroddion yn bert a chyrhaeddgar; mewn gair, fel y sylwai un cyfaill barddonol am dani, "Y mae y cleddyf braidd yn rhy finiog i'w wain." Gyda'r cwestiwn cyntaf a ofynai y foneddiges i mi oedd, "Mr.——, yr ydych chwi heb fy ngweled er ys blynyddau lawer; onid ydych chwi yn fy ngweled wedi tori llawer?" "O na, Mrs.——," meddwn innau, gan grynhoi fy holl *fanners* ynghyd, "cymerwch galon, yr ydych yn edrych yn well nag y

dysgwyliais i eich gweled; mi 'rof i chwi ddeng mlynedd ar hugain eto i deyrnasu." Rhoddai hithau ei dwy law yn dŷn ar ei gwyneb, ac ysgydwai ei phen yn y dull mynegiannus y medr hi wneyd, cystal â dywedyd, "Mae mwy o foesgarwch nag o wirionedd yn yr atebiad yna, Mr. ——."

Cyrhaeddais Lanberis rhwng wyth a naw o'r gloch ar noswaith deg ddysglaer. Cefais yn y gwestdŷ yno gwmni o ddynion ieuainc o Loegr yn parotoi i esgyn i ben y Wyddfa. Cydunais ar unwaith a'u gwahoddiad i mi ymuno â hwynt, a chychwynasom am hanner nos union, fel y gallem fod yno yn ddigon buan "i weled yr haul yn codi." Ni welais i yr un gareg filltir ar y ffordd; ond clywais a theimlais fod pum' milldir llawn o droed y mynydd i'w gopa. Y mae y daith i fyny yn ddigon annyddorol am yr awr neu ddwy gyntaf; dim ond rhyw amrywiaeth adnewyddol a dibaid o fryniau. Ni welsom ddim crëaduriaid byw ond ychydig ddefaid ac ŵyn yn pori yma a thraw. Ond wrth basio, cefais gysur wrth sylwi, os oedd gan lawer o ddefaid gwynion ŵyn duon, fod gan ambell i ddafad ddu oen gwyn hefyd.

Pan oeddem wedi dringo oddeutu dwy ran o dair o'r ffordd, yr oedd y dynion ieuainc braidd yn ennill tir arnaf. Y mae dringo i fyny i'r Wyddfa yn profi gwynt dyn yn anghyffredin, ac y mae dyfod i

lawr oddiyno yn profi, neu yn treio, ei liniau ef llawn cymaint. Nid oedd y llanciau ond ychydig gydag ugain oed, ond yr oeddwn i ryw dipyn bach gyda deugain o flynyddoedd; felly gallesid dysgwyl iddynt gadw ychydig ar y blaen. Nid rhyw lawer iawn ychwaith oeddent yn gallu ei ennill arnaf; ac mi a glywais un o honynt yn sylwi wrth y lleill, "*Really, the old Gentleman keeps up well!*" Beth? "*old gentleman!*" Ië, yn wirionedd innau. "*Old gentleman!*" Wel, yn wir! "*Old!*"—"*old!*" Mi glywais er ys llawer dydd fy ngalw yn "*young gentleman;*" ac wedi hyny yn fynych iawn yn "*respectable gentleman,*" "*talented gentleman;*" ac weithiau "*singular gentleman;*" a rhyw ansoddeiriau rhesymol felly. Ond am ryw enw gwan fel "OLD *gentleman;* ni chlywais i erioed y fath beth. Ac yr oedd y dynion ieuainc, er nas gwelais i erioed o'r blaen mo honynt, yn ymddangos yn ddynion ieuainc o ddysg hefyd; ond, wyddost, y mae digon o wahaniaeth rhwng dysg a gwybodaeth. Y fi yn "*old, gentleman!*" Yr ydwyf fi yn gweled fod y rhai sydd yn myned yn hen un ai yn myned yn benllwyd neu yn benfoel, neu yn tewychu yn y corff; ond am danaf fi, nid wyf fi yn benllwyd nac yn benfoel, nac yn estyn cortynau y babell bridd, trwy ymëangu tua chanol-barth y corff, neu mewn geiriau sathredig yn "magu bol." Dywed y rhai

sydd yn fy adnabod erioed fy mod yr un fath bron er ys ugain mlynedd, ac nad wyf fi yn tori fawr iawn. Mae genyf fwy o achos tori, fel y gwyddost ti, na nemawr o'm cyfoedion; ac y mae rhai yn dyweyd mai yr achos fy mod yn gwisgo mor dda ydyw oblegid fod gennyf gyfansoddiad mor haiarnaidd. Esboniad arall ar hyn, a'r hwn sydd yn fy moddloni i fwyaf, ydyw fod fy meddwl i mor fawr ac mor ddwfn fel nad yw ystormydd a thymhestloedd y byd hwn yn gallu crychu ond ychydig ar fy arwyneb. Ond beth bynag, dyma y rhai hyn na welsant mo honof erioed o'r blaen er crëadigaeth y byd, yn fy nynodi yn "*old gentleman!*" Amlwg yw mai dyna yr argraff oedd fy mhresennoldeb yn ei daraw arnynt. Wel! wel! y mae yn naturiol i'r deg oed feddwl yr ugain oed yn hen; a'r ugain oed y deugain, &c.; ac heblaw hyny, "ni wna un wenol mo'r haf;" ni choeliaf fi ddim fy mod yn hen nes y clywyf rywun eto yn dyweyd yr un peth. Ond yn wir, fy nghâr, fel y sylwai cyfaill i mi ar ol i mi ddyfod i lawr, yr oedd y gair yna yn swnio yn "*rather awkward.*"

Buom ddwy awr a hanner yn esgyn i ben y mynydd, a da iawn oedd genym gael eistedd i lawr enyd i aros "i'r haul godi." Y mae dau westdŷ "*in miniature*" ar y gopa, sef y "*Summit Hotel,*" a'r "*Snowdon Hotel.*" Rhoes ein *caravan* ni i fyny

yn yr olaf. Yn nghongl yr ystafell lle yr eisteddem yr oedd gwely yn yr hwn yr oedd cwpl o "*guides*" yn chwyrnu *duet* soniarus iawn. Yn yr unig ystafell arall yn y gwestdŷ, yr oedd tri boneddwr ieuainc yn cysgu, y rhai a ddaethant i fyny y nos o'r blaen i weled yr haul yn myned i lawr, ac a orphwysent yno i fod yn barod i'w weled yn codi drachefn. Yr oedd cyhoeddiad yr haul y bore hwnw, yn ol "almanac Caergybi," am ddeng mynyd cyn tri; a chware teg i'r hen haul, fe ddaeth at ei gyhoeddiad i'r funud (yn ol ei amser ei hun). Yr oedd y boreu yn glir ysblenydd, a'r olygfa yn wir fawreddog; ond ni fanylaf ar hyn, gan fod amryw o'm dysgyblion wedi gwneuthur hyn yn dra medrus eisoes. Ar y cyfan yr oeddwn i yn barnu y gallai fod yr olwg ar yr haul yn myned i lawr yn fwy ardderchog o ben y Wyddfa na'r olwg arno yn codi. Nid oes i'r dwyrain oddiyno ond mynyddoedd a thir sych iddo esgyn o'r tu ol iddynt. Ond i'r gorllewin yr oedd y môr mawr llydan, a thybiwn y gall fod adlewyrchiadau y *looking glass* mawr hwnw yn gwisgo ei ddisgyniad â gogoniant mwy. Heblaw hyny, os bydd yr awyr yn glir ar ei gychwyniad i fyny, gall yr ymdeithydd fod yn fwy hyderus o gael golwg deg arno nag wrth fyned i fyny erbyn y bore, pryd y gall fod y cymylau tewion wedi ymgasglu ar hyd y nos, a gwneyd ei lafur blin yn ofer. Amnaid arall

i'm cyfeillion sydd fel fy hunan yn dechreu myned yn hen: Er mwyn dyn, cyflogwch ferlyn bychan rhyngoch, a marchogwch bob yn ail.

Yr oedd yn aros yn y *Snowdon Hotel* ddyn bach o Sais o ogledd Lloegr, oddeutu pum troedfedd a phedair modfedd o daldra, salw o wedd, a theneu o gorff. Gallesid meddwl ar ei wedd nad oedd ganddo ond cylla drwg iawn, ac na allai fwyta fawr mwy na chyw iar, yn enwedig mor foreu a hyny. Ond cawsom brawf newydd yn mherson y gŵr bach hwn, mai peth perygl iawn ydyw barnu doniau dyn wrth yr olwg allanol arno. Dygwyddodd fod yn hongian yn yr Ystafell y bore hwnw forddwyd mochyn, neu fochglun, neu ffolen fawr. Cymer di yr un a fynot o'r enwau hyn, neu yn hytrach, dyma i. ti y gair arferedig, heb fursenu dim—*ham;* a hon oedd yr *ham* fwyaf a welais i erioed; yn wir yr oedd hi yn Wyddfa o *ham*. Taflai y Sais bach ei lygaid ar yr *ham* fawreddog hon, ac ebe efe wrth ŵr y tŷ, "*I'll take a slice of that ham.*" Gyda'r gair dyna y gyllell allan, a'r badell ffrio ar y tân, a golwyth fawr o'r *ham* yn dechreu sio yn hyfryd arni. Dattododd y Sais yn awr gylymau cadach oedd ganddo ar ei lin, a daeth i'r golwg dorth dda o fara, a darn go sylweddol o "giâws," chwedl pobl dda Dolgellau ("mae'r giâth yn bwyta'r ciâws yn y giarrat"), a chyn y gallech chwi ddweyd "Jack Robinson," fe

darawodd y "ciâws" am ben yr *ham* yn y badell ffrio! Ysbryd Alexis Soyer! dyma goginiaeth newydd! Yr oedd yr *ham* a'r caws yn cydganu yn soniarus yn y badell ffrio, a phawb yn yr ystafell yn edrych ar eu gilydd mewn syndod ac yn gwenu, a'r Sais a'i lygaid yn hollol ddifrif ar y badell, a'i ddannedd yn dechreu rhedeg. Gyda hyn dyma rybudd fod yr haul a'r godi, ac allan â ni i edrych ar y weledigaeth fawr; a thra y bu yr haul yn dyfod i'r golwg, fe roddodd y Sais y dorth dair, a'r *ham*, a'r caws, a dwy gwpanaid fawr o de o'r golwg, yn rhyw le nas gwelwyd mwy! Yn wir, yr oedd ef yn fwytäwr doniol; neu, os daeth i fyny i'r mynydd i ymofyn ystumog, fe'i cafodd yn y fan. Da iawn nad oedd y brawd dyeithr yn deall sylwadau y Cymry oedd o'i ddeutu. "Mae ei groen ef yn wydn iawn," meddai un; "Ymha le y rhôdd o nhw, dwad?" meddai y llall; "Pa sut yr aiff o i lawr o'r mynydd?" meddai y trydydd. I goroni yr anffawd, yr oedd gan y Sais druan chwysigod ar ei draed ar ol dringo y mynydd; a gadawsom ef yn ymgeleddu a phlastro y rhei'ny wrth y tân, i wynebu ar y disgyniad yn ôl. Dyna i ti "*pursuit of pleasures under difficulties.*" Er fy mod wedi cymmeryd helyntion y gŵr bach yn lled ysgafn, y mae yn dda genyf allu ychwanegu ei fod wedi dyfod i lawr yn ddiangol o ben yr Wyddfa. Mi a'i gwelais ef er fy syndod, canys gallesid dysg-

wyl iddo aros yn llonydd am dridiau fel *boa constrictor* wedi llyncu llwdn; mi a'i gwelais ef, meddaf, drachefn, ac a edrychais arno yn fanwl yn rhodio yn mwlch Llanberis ganol dydd drannoeth.

Aethum ymlaen trwy *pass* rhyfeddol Llanberis, a nant ramantol Gwynant, tua Beddgelert, ac yna trwy y llanerch aruthrol a elwir y Gymwynas. Wrth edrych ar yr olwg *helter skelter* sydd ar yr hen greigiau sydd ar y ffordd hon, gallesid meddwl, oni bae ein bod yn gwybod mae Hollalluogrwydd a fu wrth y gwaith, fod prydnawn dydd Sadwrn y grëadigaeth wedi dyfod, a'r lleoedd hyn wedi eu gadael heb eu gorphen; ond esboniad cywirach, mae yn ddiau, ydyw mai effeithiau cyffröadau mawrion yn nghrystyn y ddaear ydynt. Myned yn hen iawn y mae hithau y ddaear, a dyma y crychau y mae amser yn eu gadael ar ei hwyneb. Gwelais ambell afr yn edrych i lawr yn dawel iawn oddiar ymylon y creigiau serth; ac yr oeddwn yn barod i genfigenu wrth eu penau oer a chlir, a'u hunanfeddiant mawr yn gallu ysgogi yn ddiogel uwchben y fath ddibynau ofnadwy.

Prydnawn dydd Sadwrn cyrhaeddais Lanbedr yn Sir Feirionydd, neu fel y dywedant hwy yno, Llambedr; a phwy dybygit ti oeddent fy nghyd-lettywyr dros y Sabboth yn y gwestdŷ cysurus iawn sydd yn y pentref hwnw? Neb llai na'r Gwir Barchedig

Dr. Campbell, Esgob newydd Bangor, a'i Gaplan Cymreig! Gelli benderfynu fod yr amgylchiad hwn yn *era* yn hanesyddiaeth Llanbedr, canys y mae yn debyg na fu yno yr un Esgob byw yn oes dyn o'r blaen. Yr oedd yn dda gen innau gael cyfle i gael boddlonrwydd i mi fy hun ar y cwestiwn ag y mae cymaint o ddadleu wedi bod yn ei gylch, sef pa faint yw cyrhaeddiadau yr Esgob yn yr Iaith Gymraeg. Gofynais i'r Caplan y cyfle cyntaf, a wnai yr Esgob bregethu drannoeth; ac er fy siomedigaeth, attebai nad allai yr Esgob bregethu am nad oedd ei "*robes*" gydag ef! Aethum i'r eglwys y prydnawn drannoeth; darllenodd yr Esgob y gwasanaeth yn Gymraeg, a phregethodd y Caplan bregeth dda iawn, heb un llyfr; gan ei chanu hi tua diwedd pob adran gyda thinc teilwng o'r hen bregethwr Methodist mwyaf trwyadl a glywaist ti erioed. Wel, y mae Esgob newydd Bangor yn olynydd yr Apostol Paul mewn un peth o leiaf; canys ti a gofi y gadawodd Paul "ei gochl" ar ei ol yn Troas. O bosibl y gallai rhywun ddadleu ei fod yntau wedi gwneyd i'w gaplan bregethu i bechaduriaid Rhufain, hyd nes y cafodd ef "ei gochl" yn ôl; ond yr wyf yn meddwl fod yr Ysgrythyr yn ddystaw ar hyny. Oddiar yr hyn a welais ac a glywais i, yr wyf yn credu fod yr Esgob newydd yn ddyn da, ac yn dra awyddus i wneyd daioni; ac y mae yn siarad ac yn

darllen Cymraeg yn dda iawn "a chonsidro." Ond nid allaf fi ystyried ei apwyntiad, ar y cyfan, ond rhandaliad o gyfiawnder â'r Cymry, waith y mae yr acen dramor yn rhy gref arno i'w wneyd yn ddefnyddiol i'r werin. Tybygwyf pe buasai rhyw un âg acen Wyddelig, neu Gymreig, neu Ysgotaidd, yn cael ei osod ar Esgobaeth Saesonig, y buasai y fainc Esgobol yn fuan yn anfon y cyfryw un "i Coventry." Ac am yr urddasolion eglwysig Cymreig, y mae penodiad yr Ysgotyn Cymreig hwn i'r swydd yn sarhâd llawer mwy arnynt hwy na phe penodesid Sais trwyadl; oblegid y mae yn cynnwys addefiad gan y llywodraeth fod siarad Cymraeg yn anhebgorol i swydd Esgob yn Nghymru, ac ar yr un pryd yn amlygiad o farn nad oes un Cymro gwreiddiol yn yr Eglwys yn gymhwys i lenwi y swydd. Yr wyf fi yn ystyried fod y *demagogue* "prysur heb ddiolch" hwnw—M. T., wedi troi yn fradwr i'w frodyr, pan yr ysgrifenodd i'r "*Carnarvon Herald*" ei fod yn cymeradwyo yr apwyntiad presennol fel yn cyflawni cymaint ag a haeddai neu a ddymunai Cymru; ac na ddylasai roddi i fyny "*agitatio*," os oedd yn werth "*agitatio*" oll yn ei gylch, nes cael "Cymro o [illegible]aed coch cyfan" i'r swydd.

Heblaw hyn oll, gan ein bod wedi taro ar y pwnc hwn, y mae gwahaniaeth mawr rhwng tafodiaith y

Gogledd a'r Dehau; a digrif iawn, onidê, penodi esgob i'r "*North*" wedi ei ddysgu yn ol tafodiaith y "*South*." Rhaid i bawb addef fod Cymraeg y Gogledd ogleddol yn fwy ysgrythyrol a chlasurol nag iaith y Dehau. Nid ydyw iaith "y *South*" yna ddim yn "*ffit*" i fod yn iaith esgob. Byddaf yn sylwi fel y byddaf fi yn agosâu i lawr tua'r Dehau, fod yr hen iaith yn gŵyro ymhellach oddiwrth safon ei chywirdeb bron bob dydd o'm taith. Yn lle rhoddi sain teg a llawn i bob llythyren, fel y gwneir yn y Gogledd ogleddol, y mae y llafariaid yn cael eu gwasgu yn rhyw deneu a mursenaidd iawn pan y deuir tua pharthau deheuol Meirionydd ac i gyffiniau Trefaldwyn. Mae yr *a* yn myned yn *e*; yr *u* yn *i*; a'r *c* yn *ci* neu *k*; megys nêddo yn lle naddo; cit yn lle cut; cieil yn lle cael; ciâth yn lle cath, &c.; ac y maent yn tori eu geiriau yn gyffredin yn gwta ac yn bert dros ben. Byddaf fi yn caru clywed llafariad y bobl ffordd hyn hefyd, yn enwedig pan y bydd y geiriau culion pert yn dyfod dros wefusau siriolgoch "Morwynion glân Meirionydd" a Threfaldwyn. Dyma fel y mae hi; y mae yr iaith yn myned yn rhyw fanach fanach o hyd nes cyrhaedd gl... yr afon Dyfi; ond unwaith y croesir yr afon ho... gwarchod ni, y mae yr hen iaith "yn gwilltio yn lân fidir."

Dydd Sadwrn, yn mhen yr wythnos drachefn,

pasiais trwy Ll——. Gwelais fy hen gyfeilles Mrs. ——, yr hon nas gwelswn er ys amser "y Tridiau o'r blaen. Yr oedd hithau y pryd hyny yn mlodau ei hieuenctyd, ond erbyn hyn y mae yn tynu at "ganol oed," ac yn fam i amryw o blant. Un o'r sylwadau cyntaf a wnaeth ar fy nyfodiad i'r tŷ oedd, "Wel, Mr. ——, yr ydych yn union yr un fath ag yr oeddych ugain mlynedd yn ol; ond onid ydych yn fy ngweled i wedi heneiddio yn fawr?" Buasai yn arw i mi fyned i ddyweyd "Ydwyf," a hithau wedi talu y fath *gompliment* i mi, pa beth bynag oedd fy meddwl; felly mi a atebais, "O! *ma'm*, yr ydym eill dau yn myned yn hŷn bob dydd, yn ddiau." Ar ol mwynhâu ychydig gymdeithas yma yn y fath fodd ag nad ellir ond gyda hên, hen gyfeillion, ac uwchben hên adgofion, aethum ymlaen tua Llandrindod.

Cyrhaeddais y lle enwog hwnw oddeutu naw o'r gloch yr hwyr, a chyfeiriais am letty, nid i'r gwestŷ fel o'r blaen, ond i T——, un o'r tai ffermydd ar fin y cyttir yno, sydd yn agored ar hyd y tymmor i lettya ymweledyddion y ffynnonau. Cefais fod y tŷ yn llawn iawn, ac oni buasai fod pregethwr oedd yn aros yno wedi myned i'w daith erbyn y Sabbath, rhy brin y gallaswn gael derbyniad i mewn. Cyfarfyddais âg amryw gyfeillion yn y lle hwn; ond yr oedd hi yn rhy hwyr i "gymeryd *stock*" o'r

cwmni yn gyffredinol y noswaith hono. Aethum i orphwys; neu yn hytrach i geisio gorphwys; canys yr oedd yr hin yn boeth iawn, ac yr oedd ein hystafell yn gyfyng iawn, ac ynddi ddau wely, a dim ond un ffenestr fechan; a chawsom gryn waith i gael digon o awyr rhyngom ill tri (dau yn y gwely arall a minnau fy hun) i gysgu yn gysurus, er i ni agor y ffenestr fach, a'r drws hefyd led y pen.

Boreu drannoeth, yr oedd oedfa yn nghapel bach Llandrindod. Hysbyswyd fi mai y pregethwr oedd gweinidog y lle, yr hwn hefyd sydd yn cyfranu bara y bywyd hwn, ac anghenrheidiau eraill, i drigolion yr ardal, o fasnachdŷ bychan sydd ganddo gerllaw. Rhagrybuddiwyd fi i beidio dysgwyl rhyw lawer, neu yn hytrach i ddysgwyl pur ychydig, oddiwrth weinidogaeth yr hen frawd hwn. Yr oedd yno gynnulleidfa fach bur barchus yr olwg arni wedi dyfod ynghyd. Darllenai y pregethwr gydag aceniad yn unig fel y gwnai Cymro oedd wedi dysgu siarad Saesoneg ar ol myned yn hen; ond sicrhäwyd fi na fedrai efe Gymraeg oll. Erbyn sylwi, yr un fath y mae y Llandrindodiaid brodorol oll yn siarad. Gwelais yn union mai Saeson un oes oeddent; fod eu rhieni yn Gymry wedi dysgu Saesoneg; a bod y plant wedi dysgu Saesoneg yn unig, gan ddilyn aceniad eu rhieni. Gweddïodd wedi hyny yn gynnwysfawr a manwl. Tua diwedd y weddi, er-

fyniai am fendith i'r gynnulleidfa, a dywedai, fel pe yn ymdeimladwy o'i anghymhwysder i'w llwyr foddloni, "Y maent wedi dyfod yma Arglwydd nid cymaint i ddysgwyl wrth y pregethwr, ond i ddal cymundeb â Thi dy hun yn dy deml." Aeth y gair at fy nghalon i. Yr oeddwn yn caru gostyngeiddrwydd dirodres y gŵr, a'i syniad cywir am wir addoliad. "Dal cymundeb â Thi dy hun yn dy deml." Cafodd yr hen Brice y *blind side* i mi yn y fan. Gwrandewais arno gyda blas; ac yn wir fe bregethodd i ni bregeth dda bur, ar ddiysgogrwydd egwyddor Daniel, yn gweddïo a'i ffenestri yn agored tua Jerusalem "megys y gwnai efe cyn hyny," er gwaethaf gorchymyn y brenin. Ar derfyn y gwasanaeth, hysbysodd y gynnulleidfa fod "*the grâte* Mr. ——, wedi bod mor dda ag anfon ei gyhoeddiad i bregethu yno am chwech yr hwyr hwnw.

Yn y prydnawn cawsom gyfarfod gweddi undeb (Cymraeg) yn yr un lle, dan arweiniad amryw o deulu y diwygiad mawr, y rhai oeddynt wedi cyfarfod yno ar eu tro.

Cychwynasom tua'r capel yn yr hwyr yn gynnarol a chyda mawr ddysgwyliad ymhlith y fforddolion yn gyffredin. Yr oeddwn i fy hun yn neillduol barod i dderbyn gweinidogaeth ac i ddyrchafu clod y gŵr enwog; oblegid yr oeddwn wedi dygwydd

clywed iddo ef draethu barn uchel iawn ar ryw achlysur am fy ngalluoedd mawrion i fel bardd; ac wrth gwrs,

> "Cân di bennill mwyn i'th nain,
> Fe gân dy nain i tithau."

Cawsom y Capel yn orlâwn, ac amryw yn sefyll o'r tu allan. Daeth Mr. ——, yn brydlawn i'w gyhoeddiad. Y mae efe o ran ei gorff yn *specimen* gwych o'r natur ddynol. Dyn tàl, cryf, heini; gwallt du fel y fran; llygaid duon treiddgar, tanllyd; barf a *moustache* fawr a fuont unwaith yn ddu, ond yn awr yn frithlwyd; ei wisg a'i osgo yn foneddigaidd; ac ar ei ben yr oedd "het *jim crow.*" Edrychai oddiamgylch ar y gynnulleidfa gydag eonder uwchafiaeth; yr oedd ei hunanymddiried fel yn ymylu ar ddibrisdod; yn wir, ni welais i olwg mor "Nid wyf yn prisio pin o'm llawes am yr un o honoch," chwedl y Cymro gwledig, ar ddyn mewn pulpud erioed. Darllenodd ac esboniodd yn fanwl, yn fywiog, ac mewn dull coethedig iawn, Salm ardderchog y civ. Wele enghreifftiau egwan nid o'i feddyliau, ond o'i ddull. Adnod 2il,—"Gwisgo goleuni fel dilledyn,"—cyfeiriai at *fabrics* ysgeifn gwisgoedd boneddigesau; ond pa mor ysbrydol, mor bur (*ethereal*), oedd y Bôd hwnw yn gwisgo—yn ymguddio megys yn y goleuni tryloew! Adn. 4,—"A'i weinidogion yn dân fflamllyd"—cyfeiriai at

waith dyn yn gwneyd y mellt yn genad iddo yn y *telegraph;* o bosibl y gallai hwnw ryw ddiwrnod gyrhaedd hyd yno;—"*And that will be a new thing at Llandrindod,*" meddai. Adn. 32,—"Efe a edrych ar y ddaear, a hi a gryna." Yr oedd rhywrai, adroddai, yn eistedd ynghyd pan y dygwyddodd daeargryn mewn man; ffôdd pawb allan mewn dychryn oddigerth un Negro. Ar ol i'r braw fyned drosodd, dychwelasant i'r tŷ, a gofynasant i'r Negro, "Sambo, paham na buasit tithau yn dychrynu?" "O! mi wyddwn ni beth oedd y mater," ebe yntau. "Pa beth?" meddynt. "*God almighty passed by, and the earth made him a curtsey.*" meddai yntau. Ar ol darllen ac esbonio y Salm yn dra dyddorol, gweddiodd y pregethwr am oddeutu pedwar mynyd a hanner. Cyn cymmeryd ei destun, cwynai ei bod yn fwll iawn, ac ofnai nad oedd y bobl yno "yn credu mewn *ventilation.*" Ei destun oedd Ioan xxi. 15—17. Rhagymadroddai fod digon o amrywiaeth yn y Bibl; ac ymhlith pethau eraill dyma hanes *dinner party,*—"Wedi iddynt giniawa." Dywedai yn helaeth ac yn zelog iawn ar ragoriaeth siarad ar fwyta. Annogai y gwrandawyr, os gwahoddid hwynt i wledd giniaw, i beidio ymofyn yn anifeilaidd pa beth fydd yno i fwyta, ond pa beth fydd y siarad yno. Rhybuddiai hwynt yn ddifrifol i beidio byth gwahodd neb i giniaw na fedrent wneyd dim ond bwyta;

yr oedd gwrandaw ar ambell un yn siarad yn well gwledd na'r ciniaw goreu erioed, &c., &c. Mater y bregeth oedd dangos mai serch a thynerwch oeddent y cymhwysder mawr i wasanaethu Duw, ac yn enwedig i "borthi yr ŵyn." Brithai ei sylwadau â chymhariaethau wedi eu cymeryd o fywyd cyffredin; megys fod y fam yn dewis morwyn fyddai yn hoff o blant yn fwy nag un fwy medrus ond llai tyner.

Ymddangosai fel pe yn ymdrechu i ddyfod i lawr at amgyffredion ei wrandawyr; ond yr oedd ei ddarluniadau mor hynod o fywiog (*fervid & graphic*) fel yr oeddent braidd yn *dazzlo* llygaid y werin, ac yn tynu eu sylw oddiwrth y peth ei hun yr ymdrechid ei egluro. Ymddangosai Mr. ——, fel pe yn teimlo hyn, a dywedai, "You may think it comical, but there is something more than that in it." Ar y cyfan, ymadawsom a'r capel gyda meddyliau uwch am y pregethwr fel gŵr o athrylith mawr nag fel efengylwr. Yr oedd rhian brydweddol ymhlith y cwmni yn T——, yn ngwythïenau yr hon hefyd yr oedd gwaed mwyaf athrylithfawr Cymru yn rhedeg. "Buasai yn well gan i weled a chlywed y gŵr yna ar *blatform* nag mewn pulpud," ebe hi. "Mae yn debyg na chawsai ef ddim myned i bulpud Talsarn yr ail waith, ar ol rhyw oedfa fel yna," meddai rhywun. Ac atebai, "Ni chai ef ddim myned i

bulpud Talsarn unwaith, yr wyf fi yn meddwl, heb *shavio* y farf fawr yna."

Yr oedd rhywbeth yn arddull Mr. ——, yn peri i mi feddwl am Carlyle, ac Emerson, a George Dawson. Fel y mae y gwŷr hyny megys yn dal hêr ar y byd, trwy ddiystyru yr hen lwybrau sathredig o feddwl ac o eirio, felly gellid dynodi Mr. ——, fel rhyw *knight errant* pregethwrol, weithiau yn ymylu ar Quixotiaeth. Yr unig "fit *audience*" i'r fath ŵr fyddai cynnulleidfa o ddynion digon dysgedig a choethedig i grëu tipyn o arswyd arno rhag myned i'w afiaeth eithafol, ac hefyd i dynu allan ei holl ymadfferthoedd. Ond y mae efe yn gweinidogaethu i gynnulleidfa o anwariaid Sir ——. Mi wnawn lŵ fod yno fwy "o daflu perlau o flaen moch" mewn mis, nag sydd mewn un lle arall mewn blwyddyn.

Ar ol dyfod allan o'r addoldŷ, sylwais ar foneddiges barchus iawn yr olwg arni yn dyfod ymlaen i gyfarch y pregethwr. Synai ef yn fawr ei gweled; ymddangosai eu bod wedi bod gynt yn gydnabyddus, ond heb ddygwydd cyfarfod o'r blaen er ys blynyddoedd. "Mae eich gwallt chwithau yn llwydo, Mr. ——," ebe hi. "O!" meddai yntau, gan osod ei fys yn chwareus ar wallt ei phen hi, "y mae yma ddau o honom ni felly. Yn awr," meddai, "pa sut y mae eich holl feibion; dywedwch i mi hanes

pob un yn fyr; *just* air am bod un." "Y maent wedi meirw oll ond un," meddai hithau. "Wel, wel, fy nghyfeilles," ebe yntau, "gadewch iddo; fe gawn ni edrych yn ol ar angeu heb fod yn hir."

Arfer ymweledyddion Llandrindod ydyw cydgyfarfod wrth y ffynnonau i yfed y dwfr am chwech yn y boreu, fel ag i gael yr holl oruchwyliaeth drosodd cyn boreufwyd. Tua phump o'r gloch boreu dydd Llun, dyma un o'r cyfeillion oedd yn y gwely arall yn fy ystafell (amaethwr ieuanc o Sir Aberteifi) yn gwaeddi allan, "Mr. ——, dowch, deffrowch, y mae hi yn bryd codi." "Nid yw hi ddim yn chwech eto," meddwn innau. "Ni waeth er hyny," meddai yntau "mae eisiau myned at y dwfr yn gynt ar ddydd Llun y boreu, canys y mae yno rhyw *scum* rhinweddol ar wyneb y dwfr ddydd Llun, oblegid ei fod wedi bod heb ei *ddisturbo* y Sul, a'r cyntaf at y dwfr gaiff y *scum.*" "Ië," meddwn innau, gan deimlo yn lled anmharod i godi—lle *bráf* ydyw y gwely—"ond y mae yr annuwiolion wedi bod yno ddoe." "Pa un bynag," atebai yntau, "y mae yn llawn bryd i ni godi o'r ystafell fwll yma; y mae yr holl *oxygen* wedi darfod er ys cetyn; nid oes yma ddim byd i'w anadlu ond *carbon* mwy." "Holo!" meddwn ynof fy hun, "athronydd eto o Benllwyn!" Yr oedd ei sylw diweddaf yn anatebadwy.

Ni chefais fawr iawn o gyfnewidiadau yn Llan-

drindod er y "Tridiau" o'r blaen. Nid yw y Llandrindodiaid ddim wedi rhoddi ei hunain allan o'r ffordd, nac wedi aberthu ei hurddasolrwydd arafaidd, i geisio cydredeg â symudiadau brysiog yr oes. Saif Llandrindod mewn neillduedd llonydd oddiwrth y byd; gadawa i'w breswylwyr prysur wylltio faint a fynont, a gwahodda hwynt yno yn y diwedd i oeri tipyn ar eu penau wrth ei ffynnonau tawel a rhinweddol hi. Cefais yr hen *bump-house* fel o'r blaen; y dwfr mor rinweddol, yr hen *gommon* mor agored, a'r awyr mor bur ag erioed.

Clywais am un rhinwedd mawr sydd yn perthyn i'r llanerch hynod yma o'r ddaear, nad oeddwn i ddim yn gwybod am dano o'r blaen; a'r hwn rinwedd, pan y daw yn fwy hysbys yn y wlad, a fydd yn debyg iawn o dynu llawer mwy o ymweledyddion yma nag erioed, sef yw hyny, fod yma rywbeth, un ai yn y dwfr neu yn yr awyr, neu yn amgylchiadau cymdeithas, neu yn yr oll ynghyd, sydd yn hynod ffafriol i ffurfio yr hyn a eilw y Saeson yn "*matches*," sef dwyn dynion a merched sengl i garu eu gilydd ac i ymuno mewn glân briodas. Sicrhäwyd fi fod yma bymtheg o "*fatches*" wedi eu gwneyd i fyny yn Llandrindod yn y flwyddyn 56; ac yr wyf yn deall fod dwy o leiaf wedi eu gwneyd i fyny o gylch ac yn y dyddiau yr oeddwn ni yno. Wrth geisio meddwl ac athroniaethu uwch ben hyn o

wirionedd, bron nad allwn ni dybied y gall fod y dyfroedd hyn, wrth ysgafnhâu corff a meddwl, a'r awyr bur yma wrth sirioli yr ysbryd, yn tueddu i ddwyn y dyn neu'r ddynes i dymher gymhwys a pharod i dderbyn ac i fwynhâu pob math o drugareddau gyda thalu diolch. Heblaw hyny, yr ydys yma wedi ymneillduo yn hollol o sŵn y byd a'i helynt; ac os dygwydd i ryw wrthddrych cyfaddas i wneyd gŵr neu wraig dda fod yn bresennol, mae y meddwl yn cael hamdden i sefyll yn ystyriol uwch ei ben. Fe allai rhyw ferch ieuanc a ddaeth yma yn wan ei hiechyd ac yn wael ei gwedd i ymofyn meddyginiaeth y dyfroedd, grëu teimlad o dosturi yn mynwes rhyw ŵr ieuanc cymharadwy a chymeradwy, ac i'r teimlad hwnw addfedu yn gariad, waith y mae rhyw gyfathrach agos rhwng y teimladau hyny. Edrycher eto ar ansawdd cymdeithas yma. Yr oedd yn y tŷ lle yr oeddwn i yn llettya rywbeth gydag ugain yn aros, rhai o'r Gogledd a rhai o'r Dehau, ac ambell un o Loegr. Yr oedd yn ein plith ŵyr, gwragedd, a phlant; merched a meibion ieuainc; hên ferched a hên lanciau; gyda gweddwon gwryw a banyw. Oedd yn wir! er nad oedd yma ond oddeutu ugain yn y cwbl. Fe synit cygynted y mae hanes personol pob un a ddaw yma yn dyfod yn hysbys. Mor belled ag y gallwn i ffurfio barn, rhywbeth yn debyg

i'r drefn ganlynol y mae yr ymchwiliadau i fywgraffiad pob dyfodiad newydd i Landrindod yn cael ei ddwyn ymlaen. 1. Pa un ai priod a'i sengl ydyw? 2. I ba sect y mae yn perthyn? 3. A oes ganddo ef neu hi—BRES? 4. Os bu briod o'r blaen, pa faint o blant sydd ganddo neu ganddi?—(a chan y merched)—Pa faint yw oed y plentyn ieuangaf? 5. A oes ganddo neu ganddi ddarpar-priod? Bellach, wedi gwneuthur yr holl ddarganfyddiadau yna i foddlonrwydd, ti a weli fod y ffordd yn rhydd ac yn ddiberygl i ddwyn ymlaen weithrediadau o natur briodasol.

Gad i ni yma geisio tynu darluniad, i roddi eglurhâd pellach ar y pwnc dan sylw. Mae y cwmni oll yn cydgyfarfod yn yr un ystafell i fwyta pob pryd o fwyd. Dyma hi yn awr yn amser *tea;* dyma wyth neu naw o "setiau" o lestri tê wedi eu gosod ar hyd y byrddau ogylch yr ystafell, un *set* i bob teulu. Ymysg eraill, dyma *barty* o ŵr, a gwraig, a chwaer ddibriod i'r wraig, yn cydyfed tê. Y maent oll yr hyn a elwir yn ganol oed a thipyn mwy. Mae y chwaer ddibriod càn laned a chàn galled a'r wraig, os nad yw yn rhagori arni. Byddaf fi yn barod i feddwl weithiau mai y synwyrolaf a'r goreu o'r merched sydd yn cael ei gadael. Y maent fel ambell i bregethwr da a defnyddiol, "heb eu gweled" nes y byddo hi yn rhy ddiweddar. Fe allai mae

rhyw ry bwyllog ydynt. Mi a glywais un hen ferch gall iawn yn dyweyd unwaith, "Yr oeddwn er ys talm yn ystyried llawer pwy a gymerwn i; ond yn awr yr wyf yn ystyried pwy a'm cymer i." Mae perygl ystyried nes colli yr adeg. Y mae y wraig yn hynod ofalus am ei gŵr, braidd yn fwy felly mewn lle fel Llandrindod nag y bydd hi gartref. A welwch chwi hi yn tywallt ei dê; yn troi y llwy yn ei gwpan, yn ei dywallt i'r "*saucer*;" yna yn edrych yn serchus yn ei wyneb, gan ddyweyd, "O! William fach, beth yw'r parddu yna sydd dan eich llygad?" Dyna hi yn tynu ei chadach llogell gwyn allan, yn gwlychu hwnw ar flaen ei thafod, ac yn dechreu rhwbio y brycheuyn oddiar wyneb hoff ei hanwylyd. "Dyna fe, 'nghariad i," meddai yntau, a'i amynedd mawr ef ymron darfod oblegid fod yr oruchwyliaeth dyner yn rhwystro iddo weled ei bapur newydd; ac yn wir mae y wraig dda yn cario y driniaeth ymlaen braidd yn hwy nag sydd eisieu, o wir bleser yn y gwaith. Wele, eto: draw ymhen arall yr ystafell, y mae hên lanc, clyd iawn ei amgylchiadau gartref, yn hwylio at yfed ei dê mewn unigedd ymhlith pawb. Mae yn sylwi ar ba beth sydd yn myned ymlaen o'i amgylch, ac wrth weled y fath ddarlun o ddedwyddwch teuluaidd â'r un uchod, mor naturiol i'r syniad basio trwy ei feddwl ef, "Pe cawn innau *beth fel acw* i weini arnaf yn mhrydnawn fy nyddiau, gallwn

fod yn gryn hapusach;" ac mor hawdd yw i'w lygaid ddygwydd llithro yn rhagluniaethol oddiwrth y wraig at y chwaer sengl sydd yn eistedd yn segur a diniwed yn ei hymyl. Ar yr un pryd, nid oes dim posibl i lygaid y chwaer ddibriod beidio syrthio weithiau ar berson yr hên lanc wrth iddi hi edrych oddiamgylch yr ystafell. Ac mor naturiol ydyw i deimlad o dosturi dros ei unigolrwydd digynnorthwy basio trwy ei chalon. "Druan bach," meddylia ynddi ei hun, "onid yw yn resyn fod y gŵr parchus acw heb rywun i weini arno? A welwch chwi fel y mae ef yn gwlychu y llïan bwrdd wrth geisio tywallt ei dê, a darllen ei DRAETHODYDD yr un pryd; ac mor aflêr ydyw coler ei grŷs ef; nid oes dim haner digon o *starch* ynddi; a dyma finnau heb ddim byd i'w wneyd, ac fe fyddai cystal genyf fi ymgeleddu *peth fel acw* â'r un ddoli a fu gen i erioed." Nid wyf fi ddim yn dyweyd fod y meddyliau yna yn ymffurfio yn ddelwau eglur ac yn eiriau toredig yn y meddwl; ond y maent yn ymgodi fel rhyw ddedwyddoledigaethau aneglur draw draw yn nherfyngylch ffurfafen ei chalon. Wedi i arwyneb dwy hên galon gael eu tyneru fel yna, hawdd iawn yw i Cupid gael blaen ei saeth i mewn, ac yna y mae digon o gyfryngwyr mewn lle fel Llandrindod yn barod i'w gyru hyd adref.

Yr oedd yno un hên lanc yn ein plith nad ydwyf

fi ddim yn meddwl fod llawer o berygl iddo ef gael ei ddwyn yn gaeth gan y clefyd tyner *(tender passion)*. Dyn canol oed a chanol faint; wynebpryd goleu, gwallt cringoch, gwisg barchus, â het *jim crow* wèn ar ei ben, ydyw hwn. Dyoddefa gan ryw ddrwg mawr yn ei gylla, ac nid oes dim ond dyfroedd Llandrindod yn ei esmwythâu; am hyny y mae yn myned yno bob blwyddyn yn rheolaidd, ac y mae pawb yno bron wedi dyfod i'w adnabod ef, ac y mae efe yn dra phoblogaidd, "*quite an authority*" ymhlith yr ymweledyddion. Nid yw hwn yn debyg i hên lanc "y Tridiau" o'r blaen; ychydig iawn o wendidau mursenaidd hênlancedigaeth sydd yn perthyn iddo. Rhyw John Bull o hên lanc ydyw; *politician* mawr; *radical* ofnadwy; ymneillduwr egwyddorol; a dehonglwr mawr ar Lyfr y Dadguddiad. Gŵr pwyllog, synwyrlawn ydyw; un tebyg iawn i gymeryd digon o ofal am ei geiniog, a digon o ofal am ei galon. Yr oedd yno ddwy ferch ieuanc led addfed yn cymeryd cryn sylw o hono; ond uchel-eglwysyddesau ydynt, mor uchel fel pan y soniwyd un noson gan rai o honom am gadw dyledswydd deuluaidd—heb *Common Prayer*, wrth gwrs—y cerddodd y ddwy mewn braw allan o'r ystafell. Yr oeddwn yn dyfalu na wnaent hwy fawr o Mr. P——, rhwng fod ei ystymog ef mor ddrwg, ei galon mor oer, a'i egwyddorion mor ystyfnig.

Yr oedd yn dda iawn genyf weled fod ysbryd y diwygiad yn dyfod gyda phobl Sir Aberteifi hyd i Landrindod. Cadwent gyfarfod gweddi undeb bob nos; ac y maent wedi cychwyn Ysgol Sabbothol yno. yr hyn nas bu er ys blynyddau, os bu erioed, canys gellid meddwl wrth gyflwr moesol Llandrindod, pan fyddo yr iaith Gymraeg yn colli, fod breintiau crefyddol yn cilio. Daeth 45 i'r ysgol y Sabboth cyntaf, a 54 yr ail. Yr oeddynt wedi cael allan hefyd fod yno ddiffyg mawr am Fiblau a Thestamentau ymhlith ychydig drigolion yr ardal. Mewn canlyniad, aethant ati, a chasglasant oddeutu tair punt ymhlith yr ymweledyddion, a rhanasant werth hyny o gopîau o Air Duw ymhlith y bobl amddifad hyn. "*And thereby hangs a tale.*"

Yr oedd yno ryw gurad bach—nid hynod fach ychwaith—yn gwneuthur ei ymddangosiad, ac yn tynu cryn sylw bob boreu wrth yfed y dyfroedd iachusol. Y mae dau neu dri o lwybrau yn cychwyn oddiwrth y ffynnonau, ac yn estyn allan yn syth ar draws y cyttir gerllaw, ar hyd pa rai y bydd yr yfwyr yn cerdded yn frysiog rhwng pob glasiad i gynnorthwyo ac i ddysgwyl am gynhyrfiad y dyfroedd. Ond yr oedd y curedyn hwn yn diystyru rhodio yn yr hên lwybrau, eithr taflai allan ar "*obtuse angle*," a gwnai lwybr newydd iddo ei hun, a cherddai megys am ei fywyd, yn ddigon pell oddi-

wrth gyffyrddiad â'r "*oi polloi.*" Ië, ië! yr oedd y crëadur "sismatiçaidd" yn gadael yr hên lwybrau "sefydledig," ac yn myned yn "ymneillduwr" bob bore o flaen ein llygaid! Wel, ymhlith eraill, gofynwyd i'r curad hwn gyfranu at y casgliad dyngarol uchod. Gofynai yntau, "A ydyw Person y plwyf yn gwybod am y symudiad?" a gwrthododd gyfranu os nad ydoedd! Fe ddywed rhai nad oes dim dysgyblaeth yn Eglwys Loegr. Cabledd o'r fath fwyaf! Dyma Esgob Bangor yn hunanymwadu âg ef ei hun, ac yn peidio pregethu i bechaduriaid Llanbedr heb ei wisg newydd esgobol; a dyma gurad bach yn methu rhoi chwechyn tuag at gyfranu Biblau i baganiaid Llandrindod heb genad person y plwyf. Yr wyf fi yn tybied nad oes ymhlith dysgyblion Ignatius Loyola ei hun ddim dysgyblaeth fanylach nag sydd yn "yr Hen Eglwys" yn awr, ac yn bendifaddeu ymhlith mân guradiaid y Dywysogaeth.

Nid oedd "ceffyl mawr" y "Tridiau" o'r blaen, wrth bob rheswm, ddim genyf y tro hwn; ond y mae genyf olynydd teilwng o hono; îs o faint ond uwch o "*freed;*" llai o asgwrn ond mwy o waed. Gofynais i wraig y tŷ ddydd Llun a allai rhywun ddim "*ledio*" y ceffyl allan am ychydig yn y prydnawn, rhag ei fod yn cyffio yn yr ystabl; ac atebai hithau yn lled gwta, os ceid amser yr anfonai hi y

llanc gydag ef. Yr oeddwn yn dyfod adref yn araf yn yr hwyr ar draws y *common*, o'r cyfarfod gweddi, pan y dywedai Mr. P——, "Holo, dacw eich ceffyl chwi allan;" ac felly yr oedd ef, yr ochr draw i'r *common* â'r hogyn ar ei gefn. Nid oedd y march enwog Bucephalus yn caniatâu i neb ond ei feistr Alexander Fawr fyned ar ei gefn. Ni bu neb ar gefn Charlie (fy ngheffyl innau) er ys blwyddyn ond ei feistr, nac yntau ond unwaith. Ymdaenodd rhyw *nervousness* mawr droswyf. Dysgwyliwn chwyldröad dioedi, a diorseddiad y Llandrindodyn rhyfygus; os nid rhywbeth gwaeth yn y fan. Troais fy mhen ymaith mewn braw. "Mae o i lawr—mae o i lawr," meddai dau neu dri o leisiau ar unwaith. Ac i lawr ac o'r golwg yr oedd yr hogyn, a Charlie yn carlamu ymaith, a'i fwng a'i gynffon i fyny fel ebol gwyllt. Y mae y cyttir yn ddwy neu dair milldir o hŷd, ac o lêd cyfatebol; ac yr oedd Charlie yn myned gyda mwynhâd mawr, fel rhyw grëadur athrylithfawr wedi bod yn hir mewn caethiwed, ond ar unwaith wedi cael digon o "*scope*" i'w ddoniau. A ddarllenaist ti Mazeppa gan Arglwydd Byron, lle y mae y bardd enwog yn desgrifio y ceffyl gwyllt hwnw mor fawreddog? Pe buasai Byron yn fyw, gallesid bron feddwl mae oddiwrth Charlie ni y cafodd ef yr *idea*. Yr oedd wedi dymchwelyd ei farchog yn bur ofalus hefyd, ar dir glas esmwyth

ac yr oedd yn dda iawn genyf weled nad oedd wedi derbyn dim niwed, canys yr oedd yn hela ar ol Charlie, fel malwen ar ol ysgyfarnog. Yr oedd yno amryw o ferliwn y mynydd yn pori yma a thraw ar y *common;* a chan gynted ag y clywodd y rhai hyn sŵn carnau Charlie, ymffurfiasant yn fyntai ar ei ol; gwelsant a chydnabyddasant ei uchafiaeth ar unwaith, ac ymrestrasant dan ei faner yn y fan. A oes "*hero-worship,*" dywed, ymhlith ceffylau? Ymddangosai Charlie fel yn ymdeimladwy o'r anrhydedd a roddid arno; ymgodai i'r achlysur; dyrchafai ei ffroen yn uchel; ysgydwai ei ben yn brydferth ac arwrol yn y gwynt, ac arweiniai ei fyddin ar garlam gwyllt ar hyd y mynydd-dir. Ond y mae un wns o reswm yn gryfach na thunnell o *instinct;* dechreuem ninnau ystyried pa fodd i'w ddwyn yn gaeth eilwaith; cawsom lidiart mewn congl o'r *common* yn agor ar ffordd gul yn arwain i le mwy cauedig; a llwyddasom i gael Charlie a'i holl fyntai i mewn yno. Gelwch y ffordd hono yn wttre, rhewl, ystryd, lôn, neu pa beth bynnag a fynoch, minnau a'i galwaf yn Thermopylæ, oblegid trwy gymhorth y *pass* cyfyng hwnw, y cymmerodd ychydig wŷr traed Charlie a'i holl lu o feirch yn garcharorion, fel na ddiangodd un copa gynffonog o honynt.

Nos Lun, yr oedd yn rhaid i mi roddi i fyny fy

ngwely, canys benthyg oedd. Yr oedd y tŷ mor llawn fel nad allwn gael ond *rhan* o wely oddifewn i un o'r ystafelloedd; ond cynnygiwyd i mi wely i mi fy hun os boddlonwn i gysgu yn y *lobby*, yr hon oedd yn dra ëang. Aberthais fy urddasolrwydd am noswaith er mwyn iechyd, a dewisais y gwely yno; oblegid os cawn lai o drefn a dodrefn, fe gawn fwy o wynt. Wrth fyned i'r gwely, dyma y brodyr yn yr ystafell nesaf yn galw arnaf i wneyd pennill i'm gorweddfan. "Na, nid felly," meddwn i, "ni wna fi ddim pennill i mi fy hun; ond gwnewch chwi bennill i mi eich pedwar erbyn y boreu, a mi a roddaf geiniog o wobr i'r goreu os bydd deilwng." Aethant ati, yr athronydd o Benllwyn, y pregethwr ieuanc, a'u dau gyfaill; dyna hwynt yn yr ymdrechfa â'r awen nes yr aethum i gysgu. Yn y boreu dygent y pennill canlynol i'r bwrdd fel ffrwyth eu galluoedd unedig, a chleimient y geiniog:—

"Yn orchuddiedig gan *screen* werdd,
Mae'r bardd ei hun yn cysgu,
Crëadur blin, wrtho ei hun,
Mewn *hammock* yn y *lobby*."

Nid oeddwn "orchuddiedig," ond yn amgauedig, gan y *screen*; dyna ddiffyg synwyr. Nid yw "cysgu" a "*lobby*" yn cydodli; dyna ddifiyg odl. "*Screen*," "*hammock*," "*lobby*," ydynt eiriau Saesonig; diffyg

mewn iaith. Nid yw yn teilyngu y wobr. Dyma i chwi bennill yn lle'r geiniog:—

> "Pedwar Hwntw ar eu hynt,
> Mewn 'stafell fach go brin o wynt,
> Yn pwnio eu penau ar hyd y nôs,
> A methu gwneyd un llinell dlôs."

Ni buaswn ddim yn rhoddi hanes yr Eisteddfod hon i lawr ychwaith, ond yn unig o foesgarwch pur i'r pedwar brawd dyeithr o'r Deheudir, waith mi wn y rhydd foddlondeb mawr iawn iddynt hwy gael gweled eu pennill yn gyhoeddedig o flaen y byd yn mhrif gylchgyhoeddiad Cymru; ac nid oes genyf fi un gwrthwynebiad iddynt ddringo i anfarwoldeb wrth fy nghwt, os gallant. Am y gweddill o'r dydd Mawrth, rhaid i mi ddyweyd na ddygwyddodd dim *mor hynod bwysig* y dydd hwn â'r hyn a gofnodwyd uchod; neu ynte fe allai fy mod i yn dechreu blino yn sylwï arnynt a'u cofnodi.

Yn wir, fe allai y bydd rhyw ddynsodion bychain yn synu fod dynion mawr "fel ni" yn ymostwng i groniclo pethau a ymddangosant iddynt hwy mor fychain. Ond os byth y daw y dynionach hyny yn ddynion mawr, hwy a ddeuant i weled mai gwaith angenrheidiol iawn ydyw llacâu tipyn weithiai ar y bwa nerthol; ac os byth y deuant yn athronwyr mawr, fe ddeallant fod cael cymhorth i chwerthin yn

iawn weithiau yn iechyd i gorff ac ysbryd; ac os byth y deuant yn ysgrifenwyr mawr, fe ddysgant mai y gamp uchaf mewn cyfansoddiad ydyw darlunio pethau bychain yn naturiol, a'u gwisgo â phrydferthwch a dyddordeb.

Ffarwel! fy nghâr, fe fyddwn "yn hên" yn wir cyn y cawn "Dridiau yn Llandrindod eto;" o bosibl na cheir byth mwy ond yr adgofion hyn am danynt. Bydd yr ymweliadau difyr hyn ymhlith y pethau "a fu ac a ddarfu." "*Sic transit gloria mundi.*"

# Cymru a'i Llenyddiaeth.*

Rhan hawdd iawn o feirniadaeth yw yr hon sydd yn gynnwysedig mewn dynodi gwallau. Rhywbeth tebyg i'r gorchwyl diweddaf yma sydd yn fy mryd yn awr, neu yn hytrach dynodi diffygion, neu yn hytrach na hyny traethu pa beth a ddymunwn i ei gweled yn llëenyddiaeth Cymru, er nad yw yr absennoldeb o honynt yn fai neu wall lleenyddol ychwaith.

Cymro trwyadl ydwyf fi, ac un digon gwirion i ymffrostio o hyny yn yr oes Saesonaidd hon. Y mae Cymru, Cymry, a Chymraeg, wedi eu cerfio ar riddyn fy nghalon. Wedi fy ngeni a'm magu yn Nghymru, yr wyf am fyw a marw a chael fy nghladdu yn yr hen wlad anwyl hon, os caf rhyw gyfaill digon ffyddlawn i wneyd hyny o gymwynas â mi ar ol i mi ddarfod. Ni ryfedda neb gan hyny fy mod yn dra eiddigeddus dros bob peth Cymreig, a fy mod yn bendifaddeu felly dros lëenyddiaeth Cymru. Yn wir, y mae gwladgarwch Cymreig wedi ei gau i fyny o'r bron, o ran ei eiddigedd, i'w llëenyddiaeth yn unig. Nid oes yn awr i Gymru na choron, nac awdurdod,

* Ymddangosodd y Llythyr uchod mewn Cyfrol o'r Traethodydd yn y flwyddyn 1848.

na thiriogaeth i'w meibion i ymdeimlo yn zelog yn eu cylch. "Eu Ner a folant," ond eiddigedd cyffredin byd-ledawl ydyw, neu a ddylai fod hwn. "Eu hiaith a gadwant," dyma yr unig le i deimlad cenedlaethol i ni ar ein penau ein hunain fel plant Gomer.

O ran hyny, nid eu coronau, a'u tirỏedd, a'u haur, a'u harian, ond eu meddyliau yw gwir gyfoeth pob cenedl. Y mae y pethau cyntaf yn feddiannau cyffredin, a threigledig y naill wlad i'r llall, ond eu golud meddyliol yw sylweddol a phriodol ac annilëadwy gyfoeth pob cenedl. Y mae Virgil a Homer, prif addurniadau eu hoes, yn cyfoethogi, ïe, yn adgyfodi yn mhob oes, eu hieithoedd "meirw" oni b'ai hwy. Yr ysgrythyrau Hebreig, ac nid meusydd ffrwythlawn a gwinllanoedd breision Canaan gynt, nag aur eu myrddiwnedigion yn awr, yw gwir ardderchogrwydd a chyfoeth hen genedl Israel. Y mae llafur anifeilaidd ein natur yn ennill aur a thir a gwychder, ac fel yr anifel y mae y rhai hyn yn darfod: ond syniadau ardderchog a dedwydd ydynt ffrwyth yr enaid, ac y mae parhad iddynt. Y gŵr a rydd feddwl newydd sydd yn cyfoethogi ei genedl yn yr ystyr uwchaf. Y dyn a rydd ffurf i brydferthwch, pa un ai mewn adeilad ardderchog, ai mewn barddoniaeth syml, ai mewn celfyddyd gywrain, ai mewn syniad gwladgarol neu gymdeithasol, sydd

yn gwir gyfoethogi ei wlad. Ac y mae gwir gyfoeth fel gau gyfoeth yn ymddangos ac yn ymddyblu yn nhreigliad amser. Y mae "Coll Gwynfa," a werthwyd am ychydig bunnau gan ei awdwr, yn brif-dlws Lloegr fawreddig erbyn hyn. Y mae hen furddyn o adeilad ddiwerth yn Stratford-upon-Avon, lle y digwyddodd i gorff Shakespeare anadlu, wedi ei brisio yn werth miloedd gan ddoethion a chyfoethogion yr oes hon. Ond pwy a brisia anadliadau ei enaid?Ië, ac y mae "Cywydd y Farn," gan ein Goronwy anwyl ni, yn fwy gwerthfawr yn fy ngolwg i na golud America fawr lle y mae ei lwch hoff yn gorwedd.

Yn awr, am adeiladau prydferth, a chywrain weithiau celfyddyd, y mae rhai o honynt i'w gweled yn Nghymru, ond nis gellir dyweyd mai eiddo Cymru ydynt. Y pontydd crogedig a cheuog, a'r ffyrdd haiarn mawreddig a drudfawr, ydynt gyfoeth ysblenydd yn Nghymru; ond nis gall y Cymry honi hawl ynddynt. Eiddo y Saeson ydynt o ran dyfais a chyflawniad. Ond am ein llëenyddiaeth, y ni bïau hwn! O! nad ellid ei gadw yn ardderchog, yn bur, yn genedlaethol.

Fy nymuniad yw, ar i feibion doniol Cymru gadw yn eiddigeddus, briodoledd a nodweddiad cenedlaethol ar lëenyddiaeth Gymreig. Ni fynwn i unig gyfoeth Cymru (o ran pethau y byd hwn), fod yn unig yn

efelychiad, yn ddynwarediad o eiddo ein cymydogion. Os edrychwn ar y wisg allanol ar ieithyddiaeth yn unig; y mae yn hawdd i Gymry dysgedig ac athrylithfawr a fyddont wedi arfer efrydu a darllen llawer mewn ieithoedd eraill, lithro yn ddiarwybod i briod-ddull estronol yn nhrefniad eu hymadroddion. Gwell genyf fi weled ysgrifenydd yn myned gryn lawer o gwmpas i draethu ei feddwl yn hen eiriau sathredig ei iaith ei hun, na'i weled yn clytio rhyw fastarddair newydd er mwyn dyfod i fyny â chyrhaeddiadau a syniadau ieithoedd eraill. Y mae ambell i air Cymraeg pur hefyd, sydd wedi dyfod i arferiad yn ddiweddar, yn crafu fy nghlust i fel rhyw sain coeg-ddysgedig. Efallai fod y fath eiriau yn fwy awdurol ac yn fwy grymus; ond yn wir fy nheimlad i ydyw, ac nid allaf fi ddim wrtho, y byddai yn well genyf roi i fynu efo ymadrodd tipyn gwanach, er mwyn cael y geiriau i gyd yn hen bethau cartrefol wedi eu selio âg arfer gwlad.

A hwythau y beirdd hefyd, y mae arnaf arswyd rhag iddynt hwy anghofio ac esgeuluso priodoledd a chenedloldeb barddoniaeth Cymru. Y mae y "mesurau caethion" â chydseiniad wedi bod yn briodoledd i brydyddiaeth Cymru er's oesoedd. Ac nid oedd Goronwy Owain ddim yn ymddangos mewn caethiwed ynddynt. Y mae yr hyn sydd fel cadwynau ar eraill fel addurniadau a cholofnau cynnorth-

wyol er cadernid iddo ef: ac amlygid ynddo fod y mesurau hyny i raddau yn naturiol i'r iaith. Ond yn awr, mesurau rhyddion a llinellau a breichiau dïodl a digydsain yw yr hoff-ddull gan lawer! Gan bwyll, fy nghyfeillion, gwyliwn rhag i ni fyned yn rhy benrhydd! Gadewch i ni gael ambell i gywydd eto, ac ambell i awdl gywrain, "er mwyn yr hen amser gynt," ac o wir eiddigedd cenedlaethol. A phaham na chaem ni fwy o farddoniaeth yn y "Traethodydd," &c.? Y mae gwŷr awengar Cymru yn awr yn barddoni yn eu maboed, ac yn ysgrifenu rhyddiaeth yn unig wedi myned yn ddynion. Ai "peth bachgenaidd" yw barddoniaeth? Byddwn i yn meddwl mai meistrolwaith dëall ydoedd, a gris mwyaf dyrchafedig myfyrdod. Gellid meddwl wrth feirdd presennol fy ngwlad mai profi yr aden ieuanc, neu ymdrechu am wobr eisteddfod oedd unig bwrpas prydyddiaeth. Na, rhaid cael rhyw ysbrydiaeth uwch a phurach na chymhelliad ariandlws neu "gadair" i genedlu pryddest wir farddonawl ac anfarwol. Ymdywalltiadau gwirfoddol, hunan-wobrwyol, yw ehediadau cryfaf yr awen. Deffroed awen rydd, wyllt Walia.

Mi garwn weled ysgrifenwyr campus Cymru yn fwy cenedlaethol yn newisiad testynau eu cyfansoddiadau hefyd. Y mae yn rhaid trafod y celfyddydau a'r gwybodaethau, pa rai ydynt achosion ymchwiliad

teilwng i holl blant Adda; a theilwng yw ail goffâu am y dynion mawrion o bob oes ac o bob gwlad, pa rai oeddynt yn olud ac yn anrhydedd cyffredin i'r natur ddynol; a phriodol iawn yw edrych i mewn i ansoddau gwahanol ieithoedd, chwilio i dreigliadau egwyddorion, ac olrhain hanesyddiaeth gwahanol deyrnasoedd, &c. Ond fy mhwnc i yw hyn. Onid oes mwngloddiau yn hanesyddiaeth Cymru ei hun yn cael eu hesgeuluso? Ai ni bu dynsodion hynod ymhlith ein hynafiaid ni, Gymry, y byddai yn werth i ysgrifenydd hyddawn eu hadgyfodi o dir anghof, a'u portrëadu o flaen y byw? A ydyw hanesiaeth Cymru, ac arferion yr hen Frython yn hysbys i berffeithrwydd i ofyddion Cymreig, heb son am y werin a'r genedl ymofyngar sydd yn cyfodi? Pa niwed a fyddai i athrylith a dychymyg Gymreig gael ei dangos allan mewn ambell i chwedl fywiog er darlunio hen arferion ac egluro hanesyddiaeth Gymreig? Ac os yw Tywysogaeth Cymru, neu hyd yn nod Ynys Brydain Fawr, yn faes rhy gyfyng i ymehediad meddwl eryraidd yr ymholydd, onid oes i ni frodyr lawer? Onid yw y teulu Celtaidd yn ëang, a'i gangen-ieithoedd yn amrywiol? Wele feusydd llydain a newydd i feirdd ac ysgolorion Cymru i lafurio ynddynt; a gellid dysgwyl y byddai i wladgarwch a theimlad cenedlaethol gymhell y flaenoriaeth iddynt. Dywedwch, ddysgedigion, a

oes dim modd ëangu cylch ein teimlad cenedlol, trwy agor cyfrinach â rhanau ereill o'r tylwyth Celtaidd, neu drosglwyddo i'r Gymraeg ryw ddarnau o lëenyddiaeth—boed wael, boed wych, y cangen-ieithoedd cyfathrachol?

Y mae rhyw briodoledd ac arbenigrwydd ysbryd yn perthyn i lëenyddiaeth ambell i genedl, yn adlewyrchiad o nodweddiad y bobl. Y mae hên gerddoriaeth Cymru felly; yn rhydd, yn ysgafn, ac yn fyrbwyll fel y Cymro, ac ambell i droad toddedig yn tarddu o ddyfnderau serch bêr natur Y mae ei hen farddoniaeth, ei cherddi a'i chaneuon bywiog felly. Gallwn ni feddwl mai prydyddiaeth, o ryw fath neu gilydd, oedd llëenyddiaeth Cymru bron i gyd, er's llawer dydd. Ac y mae y gwyllt a'r gwâr—y celfyddydol a'r ysbrydol—coel grefydd a gwir grefydd yn ymryson am yr oruchafiaeth ynddo. Y mae ei llëenyddiaeth yn argraffiadau o deimladau pob oes, ac yn fynegai cywir o gynnydd pob cenedl. Hapus a galluog yw y dyn sydd yn gallu â swyn farddonol adsain "llais y wlad." Yr oedd Twm o'r Nant yn corffori ysbryd dibris gwerin Cymru, a'u teimlad diystyrllyd pan ddechreuodd y goleuni wawrio arnynt, ac awchlymu eu syniad o'r anghysonder ffug-grefyddol yn sefydliadol ac yn bersonol. Ac yntau, peraidd ganiadydd Pant-y-Celyn—gan erfyn ei faddeuant am ei enwi ef a'i emynau

nefolaidd ar yr un tudalen a Thwm—y mae pennillion Williams yn adroddiad—yn argraffiad bythol o brofiadau ac ysbryd y diwygiad yn Nghymru. Y mae hefyd rywbeth a ellid ei alw yn nodwedd Cymreig, neu ddullfeddwl Cymreig ar ei odlau ysbrydol. Y maent yn swyno calon llawer Cymro yn eithafion America bell, gan gyffroi y teimlad crefyddol a'r gwladgarol ar unwaith.

Yn awr, nid oes lle i ddysgwyl i lëenyddiaeth Gymreig ddringo i'r tir uchaf oll, o ran pynciau celfyddydol a rhesymegyddol. Y mae ei manteision a'i chŷlch yn rhy gyfyng. Gallwn ddysgwyl mai materion moesol a syniadol a fyddai testunau ei llëenyddiaeth genedlaethol yn hytrach. Ac eto, ychydig mewn cymhariaeth o'n hysgrifenwyr yn yr oes hon sydd yn ymollwng i'r llwybr hwn. Hen lwybrau sychion, defnyddiol, ffeithiol, y genedl fydgarol sydd yn ein hymyl, y maent gan mwyaf yn eu eu cerdded. Yn wir fe fyddai yn well gan i eu gweled yn dringo mwy ar i fyny i'r cymylau a'r niwl ar ol yr Allmaeniaid, neu yn ymblentyneiddio gan chwareu yn siriol ymhlith y blodau ambell i oedfa gyda'r Italiaid a'r Ffrancod. Y mae y gwir noeth yn bur dda, a ffeithiau cedyrn yn dra gwerthfawr; ond attolwg, a ydyw dychymyg gwr dda i ddim? I ba ddyben y rhoddwyd crebwyll i ddyn? O! rhaid cael ffaith—a ffaith—a rheswm—a rheswm, yn

ddiddiwedd ac yn ddiddarfod. Glynir yn ddiffaith wrth ffaith, ac yn ddireswm wrth reswm. Pa niwed mewn difrif, mewn tipyn o anwiredd diniwed dychymygol a gonest, os bydd gwers dda wrth ei gwt ef —os bydd "tywarchen ar ei fôn ef?" Er mwyn dyn, anwyl Syrs, dywedwch ffug (bu agos i mi ddyweyd, tipyn o gelwydd) wrthym ni weithiau; ond peidiwch a dyweyd mai gwir ydyw ef ychwaith. Y mae y gwirioneddau uchaf a dyfnaf a phuraf a syrthiasant ar glust ac i galon dyn erioed wedi eu traddodi mewn dammegion. Ddysgedigion Cymru, os rhaid efelychu a dynwared, na ddynwaredwch ddim llai na natur; nac efelychwch neb llai na'r Unig ddoeth.

Y mae cyfyngder y maes o ran poblogaeth, ac yn enwedig oblegid amrywiaeth a gelyniaeth graddau a phleidiau yn Nghymru yn rhoi rhy fach o gymhelliad i ddwyn allan gampus weithiau ysblenydd a mawrion. Y mae ein huchelwyr ac eraill—iechyd iddynt!—y rhai a ddylent fod yn noddwyr ac achleswyr ein llëenyddiaeth, gan mwyaf, yn estroniaid i ni mewn teimlad ac mewn iaith. Ond os nad oes temtasiwn i un Virgil neu Filtwn i ddwyn allan gerdd arwrol Gymreig, eto, o bosibl nad allai rhyw Burns neu Cowper gael ei anadl yn Nghymru. Teilwng yw i deimladau crefyddol gael y flaenoriaeth, ond fe ddylid maethu teimladau a thynerwch

cartrefol, cymdeithasol, a gwladgarol hefyd. Y mae anmherffeithrwydd ein llëenyddiaeth mewn gwladgarwch a chymdeithasoldeb yn ymddangos yn y gwirionedd, nad oes yr un gân genedlol—deuluaidd yn Nghymru; yr un gân ag sydd yn hysbys i bawb—sydd fel arwyddair i serchiadau Cymru—ag y mae tannau calonau Cymreig yn mhob man yn crynu wrth glywed ei sain—cân ag y tarawai y lliaws yn unfryd mewn awr o orfoledd neu lawenydd i'w chanu—cân a barai i ryw deimlad swynol gerdded ar hyd ei gnawd, a wreichionai ei lygaid, ac a gyflymai ei waed, ac a attaliai ei anadl gan lawenydd—pe dygwyddai i Gymro unigol ei chlywed yn annysgwyliadwy yn dyfod ato ar yr awel mewn rhyw goedwig neu anial pellenig o wlad ei enedigaeth. Y mae rhyw gerdd wladgarol gan bron bob cenedl ond y Cymry. Y mae y Scotiaid yn gloewi i fyny wrth swn, "*Scots' wha ha' wi Wallace bled.*" Y mae y Saeson beilchion yn ymsythu gyda 'u "*Brittania rules the waves.*" Y Ffrancod yn ymwroli i ddymchwelyd gormes ac i sicrhau rhyddid tan ddylanwad, "*Mourir pour la patrie.*" Hyd yn nod y Prwssiaid syberw, ar dderbyniad y newydd o fuddugoliaeth ar y Daniaid, a dorent allan yn unfryd mewn cân genedlol, "*Was ist das Deutschin Vaterland.*"

Ond am y Cymry, nid oes yr un wefr-gadwyn yn cydio eu calonau yn nghyd *oll eto*; neu ni wyddys pa

fodd i gymhwyso y wreichionen anwrthwynebol ati. Gwir yw fod ein sefyllfa wladol yn rhwystr i amlygiad fel hyn. Nid oes i ni frwydr i'w hymladd na gelynion i'w gorchfygu, o'n rhan ein hunain. Dilys gan hyny mai y syniadol a'r cymdeithasol a ddylai fod yn brif nodwedd ein llëenyddiaeth, ac yn brif destun ein cân. Mi welais fod y Llywodraeth Ragddarbodol yn Ffrainc, yn nghanol eu prysurdeb diweddar, wedi cynnyg gwobr am y genedl-gân heddychlawn oreu, i gymeryd lle y genedl-gân ryfelgar uchod. Fe gafwyd un ardderchog, byrdon yr hon, yn lle "Marw tros fy ngwlad," oedd "Byddwn fyw i ein gwlad." Beth pe byddai i'r eisteddfod fawreddig nesaf, os bydd un mwy, gynnyg gwobr hardd am y gân genedlol neu wladgarol oreu yn Gymraeg.

Hyfryd a fyddai genyf weled y teimlad gwladgarol a thynerwch a serchogrwydd cartrefol yn cael eu gwau yn helaethach yn llëenyddiaeth rhyddieithol "gwlad fy ngenedigaeth." Peidied gwyr doethion Cymru a bod yn rhy "ddeallawl," i fod yn ddynion teimladol. Anturied y cewri hunan-ymddibynol o ran synwyr fod yn wŷr ac yn frodyr ac yn dadau ac yn blant o ran teimlad a thynerwch a serch. Ymdrechent i ddangos ac i faethu y fath deimladau, yn gystal ag i ddangos ac i faethu synwyr a deall. Na fydded gywilydd ganddynt arddel eu *holl* natur

—a'r cyfan yn gysylltiedig â 'gwlad ein genedigaeth.' Nid wyf ddim yn llwyr garu yr enwad yna ychwaith. Mae tlodi ein hieithyddiaeth o ran gwladgarwch yn ymddangos i mi yn yr enw oeraidd "gwlad fy ngenedigaeth." Mor ëang, mewn cymhariaeth yw yr enw cyfandirol "*Fatherland!*" "Gwlad fy nhadau!" Y mae cyflawnder syniad hoffus cartref a'i holl berthynasau anwylaidd yn ymdyru i'r cof yn hyn yna. Rhyw deitl hunanol yw "Gwlad fy ngenedigaeth." Ond "Gwlad fy nhadau!" y mae yma dynu allan yr holl galon; y mae yma *gydio ág ereill*, gydag amneidio adgofion tyneraf yr oes.

Mi a ysgrifenais yn wibiog a chrwydredig, tebygaf; ond y mae fy "niben yn gywir," chwedl y bobl, sef cadw i fynu gymeriad cenedlaethol llëenyddiaeth fy anwyl wlâd, a cheisio cyffroi mwy o deimlad unol—serchiadol—cymdeithasol—a gwladgarol ynddi.

DIWEDD.

WYDDGRUG: ARGRAFFWYD GAN HUGH JONES.